LLAWLYFRAU
UNDEB YSGOLION SABBOTHOL
Y
METHODISTIAID CALFINAIDD.

# EPISTOL IAGO

*GAN Y*
*PARCH. J. PULESTON JONES, M.A.*



1/6

*Cyhoeddedig gan*
Y GYMANFA GYFFREDINOL.

# LLAWLYFRAU

## UNDEB YSGOLION SABBOTHOL

Y

## METHODISTIAID CALFINAIDD,

DAN AROLYGIAETH

PWYLLGOR Y GYMANFA GYFFREDINOL.

---

# EPISTOL CYFFREDINOL IAGO YR APOSTOL.





---

*CYHOEDDEDIG GAN Y GYMANFA GYFFREDINOL,*

YN SWYDDFA Y CYFUNDEB,

CAERNARFON.

—

1898.

# EPISTOL CYFFREDINOL

# IAGO YR APOSTOL

GYD A

RHAGLITH A NODIADAU EGLURHAOL.

GAN

J. PULESTON JONES, M.A.

DINORWIG.

CYHOEDDEDIG GAN Y GYMANFA GYFFREDINOL.

—

1898.

# RHAGYMADRODD.

Pan oeddwn i ar ymsefydlu ym Mangor, fe'm cynghorwyd gan gyfaill o weinidog i ddewis llyfr, a disgyn iddo am destyn yn awr ac yn y man, heb fy rhwymo fy hun i bregethu ynddo o hyd. Hynny a wneuthum; ac Epistol Iago oedd y llyfr, fel y mae gennyf lai nag arfer o esgus dros ddiffygion fy ngwaith. Eto, gan nad oedd gennyf ond ail i ddim o ffrwyth y blynyddoedd cyntaf hynny mewn ysgrifen, bu raid i mi, yn groes iawn i'm disgwyliad, ail ddechreu yn y pen wrth barotoi y llawlyfr hwn. Ond y mae hyn o fantais o'm bod i wedi darllen Iago yn o fanwl o'r blaen, ac wedi gorfod newid fy meddwl ar ystyr a threfn rhyw rannau o'r llyfr lawer gwaith: yr wyf yn barotach beth i ddarfod âg esboniadau cywrain, pa un bynnag ai o'm dyfais fy hun ai o waith rhywun arall. Y mae sêl fachgennaidd dyn dros bethau felly, ar ol eu dweud hwy rai gweithiau, o drugaredd, yn oeri ac yn diffodd. Y mae amryw o honynt, y bu gennyf gryn feddwl o honynt unwaith, nad wyf wedi poeni'm darllenwyr â hwynt o gwbl yn y tudalennau hyn.

Anfantais fy nghydnabyddiaeth flaenorol â'r llyfr yw fod yn anawdd iawn i mi erbyn hyn wybod maint fy nyled i eraill am y cymorth a gefais i'w efrydu. Y ddefod yw i esboniad go gyflawn gynnwys defnydd llyfryddiaeth y maes yr esbonir ynddo. Y mae hwn yn mhell iawn o fod yn gyflawn yn yr ystyr yna. Pe ceisiaswn ei wneuthur yn gyflawnach, fe

aethai yn rhy hir yn un peth, a buasai raid i minnau fedru Ellmynneg, canys llyfrau anghyfiaith yw llawer iawn o'r hyn sy wedi ei ysgrifennu ar yr Epistol. Felly yr wyf wedi bod yn o gynnil o adrodd barnau gwahanol awduron ar adnodau, lle'r ymddengys nad yw hynny yn llawer o help i ddeall yr adnodau eu hunain. Heb law hynny, y mae pob un sy'n ddigon o efrydydd i falio rhywfaint am wybodaeth o'r fath yna, yn ddigon o ysgolhaig i wneud defnydd o waith safonol Mr. F. B. Mayor, neu o esboniad Huther yng nghyfres Meyer. Y rhai a ddarllenais i yn o fanwl, gyd a'r ddau hyn, yw Calfin, Stier, y Deon Plumptre, a Dr. Plummer, heb law ymofyn yn achlysurol âg amryw eraill. Afraid yn ddiau oedd dweud ym mhob man, pan y byddai'r eglurhad yn fater o synwyr cyffredin noeth y daethai pawb iddo braidd ar ei gyfer, pa un a wnes, ai dyfod o hyd iddo fy hun, ynte'i gael gan rywun arall. Yn wir mewn llawer amgylchiad byddai'n ormod gorchest i mi gofio pa un.

Ond chwaneg, nid i lyfrau yn unig yr wyf yn ddyledus, ond i nifer fawr o gyfeillion, am lawer math o gyfarwyddyd, am ddarllen, am droi geiriaduron, am fodd i ddefnyddio llyfrau a llyfrdai yr oedd eu llwyr angen arnaf, ac yn bendifaddeu am alw fy sylw at aml i ffynhonell o ddysg oedd yn newydd i mi. Llawer rhy faith i'w dodi yma fuasai rhestr gyflawn o'r rhai hyn ; ac er ei meithed, byddai rhai o'r rhai rheitia'u cydnabod yn siwr o fynd yn angof o eisieu cadw cyfrif ; fel mai'r unig ffordd i wneud tegwch fydd dewis un i gynrychioli'r oll. Yr wyf yn ei enwi ef am ei fod yn y cyrraedd o hyd i'w boeni â chwestiynau ac i alw am ei help—fy nghymydog, Mr. Humphrey Evans, Ysgol y Bwrdd, Dinorwig. Fy mhriod a gafodd y diflaswaith o gywiro prawflenni ; a bu Golygydd y gyfres yma'n rhyfeddol o garedig wrthyf yn y mater hwn hefyd. Pwy bynnag a fynno ddysgu tipyn am y gwaith dyrys o

ddwyn peth drwy'r wasg, nis gall gael gwell athraw na Mr. Evan Jones.

O herwydd diffyg hamdden i ymofyn â phob llyfr y gwnes gyfeiriad ato, mi syrthiais rai gweithiau i fai llenyddol go bwysig: rhoddi dyfyniad ail law, yn lle'i gyrchu o lygad y ffynnon; ond lle y cefais gyfle ar ol ysgrifennu i fynd i lygad y ffynnon, a chymharu fy nyfynion â'r gwreiddiol cyn darfod eu hargraffu, nid esgeulusais wneud hynny. Ond pan fo dyfyniad yr un ffunud mewn dau neu dri o wahanol lyfrau, nid oes cymaint o berygl cyfeiliorni.

Ychydig fydd y rhai a ddarllenant hyd-yn-oed gyfrol gyn lleied a hon drwodd. Wrth y lliaws na wnant hynny fe allai nad anfuddiol dywedyd, mai'r bennod yn y Rhaglith ar Neges a threfn yr Epistol, ynghyd a'r Cyfieithiad yn niwedd y llyfr, ydyw'r pethau rheitia'u darllen.

Amcenais lunio fy sylwadau yn y modd mwyaf anhylaw i'w darllen yn yr Ysgol Sul, gan mai gartref ar bob cyfrif y dylid ei darllen, a chofio'n wastad mai yr Epistol ei hun ydyw'r maes llafur: yn help i ddarllen hwnnw y bwriedir pob esboniad. Ofn fydd arnaf, bob blwyddyn, i ni fod yn fwy hyddysg yn yr esboniadau nag yn y llyfr ei hun. Trwy chwilio gartref, yn lle dyfod a'r esboniad i'r ysgol, fe osgoir dwy demtasiwn o leiaf: y demtasiwn i ddiogi, a'r demtasiwn i dybied mai'r esboniad y bo dyn wedi digwydd ei brynu ei hunan sy'n iawn ar bob peth.

Cofiwn hefyd mai'r peth goreu ym mhob esboniad yw'r cyfeiriadau sydd ynddo at rannau eraill o air Duw. Eto rhyfedd leied o efrydwyr y meusydd llafur sydd yn cymeryd hamdden i ddilyn y rheiny. Bwriwch ddyfod dosbarth ynghyd ar brydnawn Sabboth, ac un neu ddau wedi ym-gynghori â'r esbonwyr Saesneg, neu *Destament yr Ysgol*

*Sabbothol*, un arall wedi darllen *Y Drysorfa*, un arall *Y Llusern*, un arall *Y Lladmerydd;* a phob un yn dwyn ei helfa adref: y fath gyfoeth fyddai gan y dosbarth ar y diwedd, pe treulid y prydnawn i gyd i chwilio am yr adnodau y cyfeiria'r gwahanol esbonwyr atynt, heb ddim chwaneg na hynny.

Trwy gynnyg cyfieithiad o'r Epistol ar y diwedd, mi feddyliais y gallwn hepgor dweud ym mhob man yn y nodiadau, pa ddarlleniad ar y testyn gwreiddiol a ddilynwn, ac osgoi beichio'r darllenydd â gormod o fanion ar fater o gyfieithu. Testament Westcott a Hort a fu'n safon gennyf; a lle'r ymadewais rywfaint oddi wrth eu darlleniad hwy, yr oedd gennyf, hyd y sylwais, awdurdod un o'r ddau olygydd bob tro dros wneud hynny, ynghyd âg awdurdod y Testament Groeg sy'n corffori darlleniadau'r cyfieithiad Saesneg Diwygiedig.

Go geidwadol a fum yn fy nghyfieithiad: hynny yw, newidiais leiaf y gallwn ar y cyfieithiad Cymraeg Cyffredin; a lle y byddai'r cyfnewidiad yn fater o eiriau, ac nid o ystyr, teimlais yn gryfach i'w wneuthur, bob tro, pan fyddai gennyf un o'r hen gyfieithiadau Cymraeg, William Salesbury neu Dr. Morgan, o'm plaid. Mewn rhai mannau mi gedwais y gair 'cyfraith,' sydd, yn ol y Proffesor Hugh Williams, yn nodweddu'r rhan honno o Destament Salesbury a gyfieithiwyd gan Richard Davies; rhag colli na difwyno'r ymadrodd seinber, a'r cyfieithiad gwych hwnnw, 'Perffaith gyfraith rhyddid.' Ond oddi eithr mewn rhyw amgylchiad neu ddau o'r fath yna, mi amcenais, hyd y gallwn, roi yr un gair am yr un gair.

Yn ol cyngor a gefais gan Mr. O'Brien Owen, ac esiampl Mr. Richard Hughes, lluniais nifer o gwestiynau ar y Llythyr, y rhai sydd, mewn rhan, yn cerdded yr un tir a'r Rhaglith a'r Nodiadau, ond mewn rhan hefyd yn feirniadaeth arnynt, gan

y ceir yn eu mysg aml i gwestiwn nad oes yma ddefnydd atebiad iddo. Bwriadwyd y rheiny yn brawf ar feddylgarwch y darllenydd, ac yn awgrym pa le, ym marn yr awdwr, y mae'r esboniad hwn wannaf ac amherffeithiaf.

Rhanwyd y cwestiynau'n wersi; ond er bod digon o honynt i roi un bob Sabboth am flwyddyn, a gadael lle i fylchau anorfod, megis Cyfarfod Ysgolion neu Gyfarfod Pregethu, ni fwriedir cau'r dosbeirth o gwbl i'r drefn hon. Mi goeliaf nad oedd dim pellach oddiwrth feddwl y Pwyllgor na chyfyngu ar ryddid athrawon. Yr unig amcan oedd sicrhau fod rhyw-faint o waith trefnus, gonest, yn cael ei wneud, nid peri na wneid dim ond hynny. Yr wyf wedi rhoi amryw wersi'n fynych ar yr un adran, gan yr ymddengys i mi fod yr adran-nau'n ormod o gyfanwaith i'w torri'n fanach, ac y dylid darllen darn gweddol gyfan bob tro'r ymgyferfydd y dos-barth, pa gyn lleied bynnag o hono a ddelo dan sylw y tro hwnnw. Arfer niweidiol iawn yw peidio darllen dim ond digon i fynd unwaith o gylch y dosbarth. Rhagor o adolygu a chrynhoi a fyddai'n iechyd i'r Ysgol Sul.

J. PULESTON JONES.

# CYNHWYSIAD.

# EPISTOL CYFFREDINOL IAGO.

## RHAGLITH.

### PENNOD I.

#### DILYSRWYDD YR EPISTOL.

ER mwyn gallu barnu a ddylai llyfr fod yn rhan o'r Testament Newydd ai ni ddylai, rhaid gofyn o leiaf ddau beth: a ydyw y llyfr yn gynnyrch diamheuol yr oes apostolaidd? ac, a ydyw efe, o ran yr addysg a geir o'i ddarllen, yn help i ddeall yr efengyl? Mewn geiriau eraill, rhaid ystyried gwerth y llyfr ac oed y llyfr, at gael sicrwydd terfynol ei fod yn haeddu ei le yn y Canon. Ni gymerwn y nesaf allan o'r ddau yna i ddechreu: dilysrwydd Epistol Iago fel cynnyrch yr oes apostolaidd; yna rhyw fanylion sy'n perthyn i'r un gainc o'r ymchwiliad—pa bryd yr ysgrifenwyd yr epistol, a chan bwy—yn y ddwy bennod nesaf; yna, yn y ddwy bennod wedyn, neges a threfn, a diwinyddiaeth y llythyr. Er fod dilysrwydd y llythyr yn bwnc nas gellir ei ddadrys oddi wrth y materion eraill a grybwyllwyd, eto y mae'n un y gellir ei drin mewn rhai o'i agweddau ar wahan.

Yn y bedwaredd ganrif o Oed Crist y sefydlwyd terfynau'r Testament Newydd, o ran y llyfrau a gynhwysid ynddo, fel y mae yn awr. Y mae'r holl lyfrau sy gennym ni, ond y Datguddiad, ar restr Cyril o Gaersalem (315-386). Y maent i gyd gan Athanasius mewn llythyr a ysgrifenwyd ganddo yn 373. Am yr Epistolau Cyffredinol, o'r rhai y mae Epistol Iago'n un, y mae gennym dystiolaeth Didymus, yr hwn a gyhoeddodd esboniad arnynt yn 395, ond a sylwai y cyfrifid 2 Pedr yn ddiawdurdod gan rai. Yn 403 dyry Epiphanius restr a gyfetyb yn hollol i'n Testament ni.* Nodwyd y llyfrau sydd gennym ni fel yr holl lyfrau, a'r unig lyfrau, a haeddent eu cyfrif ym mysg Ysgrythyrau'r Testament Newydd gan Gyngor Laodicea yn 364. Y mae'r Esgob Westcott yn ameu dilysrwydd y rhan yma o adroddiad y Cyngor.† Ond am adroddiad Cyngor Carthage, 397, nid oes un ddadl; a gwnaeth y cyngor hwnnw yr un peth ag y dywedir i Gyngor Laodicea ei wneud.‡ Yn awr y mae o'r pwys mwyaf i ni gofio mai dwyn tystiolaeth i beth yn bod eisoes yr oedd y cymanfaoedd hyn, cyhoeddi a chadarnhau peth oedd bellach wedi ei sefydlu ym marn a phrofiad eglwysi Cred. Y diwinyddion hynny fuasai'r rhai diweddaf i ddyfeisio neu gychwyn dim eu hunain ar fater o'r fath. Pwnc o hanes ganddynt hwy oedd nodi terfynau'r Canon. Ni phenderfynwyd heb lawer o chwilio; ac nid oedd y cwestiwn yn gwestiwn plaid, fel y gallwyd sefyll uwch ei ben mewn gwaed oer; ac yn y

* Tud. 443-444. † Westcott ar y Canon, tud. 428.

‡ 'Y Testament Newydd a'i Ysgrifenwyr,' M'Clymont. Cyf. y Parch. D. E. Jenkins, tud. 111.

diwedd cafwyd unfrydedd mawr, a hynny rhwng canghennau o'r eglwys oedd yn anghytuno ar bethau go bwysig. Yr oedd y ddwy blaid fawr, y Dwyrain a'r Gorllewin, yn gytun ar hyn, er na wnawd mo benderfyniad Carthage yn ddeddf ffurfiol y Dwyrain hyd y flwyddyn 692. Nid yr un llyfrau i gyd a amheuwyd ar y cyntaf yn y Dwyrain a'r Gorllewin, yr hyn a bair i ni synnu mwy fyth fod Testament Eglwys Groeg heddyw, a'n Testament ninnau, ym mhobpeth pwysig, yr un un.

Y mae hyd yn oed yr amheuon a fu am rai llyfrau cyn gorffen sefydlu'r Canon yn werthfawr bellach, i ddangos mai nid ar eu cyfer y penderfynodd diwinyddion yr hen gynghorau, namyn wedi llawer o feddwl a llawer o betruso. Heb law rhoi i mewn yn y casgliad rai llyfrau y buasai gynt beth dadl yn eu cylch, hwy a adawsant allan amryw lyfrau yr oeddid wedi arfer eu darllen fel Ysgrythyr mewn llawer o eglwysi, megis 'Llythyr Clement at y Corinthiaid,' a 'Bugail Hermas.'

Ugain o lyfrau'r Testament Newydd a dderbynid fel Ysgrythyr gan yr eglwys i gyd er canol yr ail ganrif; y deunaw cyntaf yn ein casgliad ni, o Efengyl Matthew hyd yr Epistol at Philemon, ynghyd âg Epistol Cyntaf Pedr, ac Epistol Cyntaf Ioan. Yr Epistol at yr Hebreaid, Epistol Iago, 2 Pedr, 2 Ioan, 3 Ioan, Judas, a'r Datguddiad, a fu am amser heb eu derbyn mewn rhyw gylchoedd. Gellid tybied wrth y defnydd a wneir o'r llyfrau yr oedd dadl am danynt mai derbyn y rheiny oedd y rheol, ac mai eu gwrthod oedd yr eithriad.* I Eusebius yr ydym yn ddyledus am y rhestr yna o'r llyfrau y dywedid yn eu herbyn gan rai; ac y mae Eusebius ei hun, meddir, yn dyfynnu o ddau fan yn Epistol Iago, iv. 11 a v. 13, fel nad oedd yntau'n cyfrif yr amheuaeth oedd ynghylch yr epistol, ynghyd â rhai llyfrau eraill, yn bwysig nac yn gref.

Yn wir buasai'r lle cysegredig oedd yn nheimlad yr eglwys i'r ysgrifeniadau mewn dadl yn ddigon i gadw'r ymholiad am eu dilysrwydd heb ei gau beth bynnag, hyd yn oed pe na roddasai eglwys y Tadau o'r diwedd sain unllais o'u plaid. Paham na fuasai gan ddisgyblion Iesu Grist, yn yr oes hon, o ran hynny, hawl i ail ystyried y priodoldeb o roi yn y Beibl lyfrau yr oedd y dystiolaeth o'u plaid gynt yn gref, er iddi beidio cyrraedd unfrydedd llwyr? Ond unfrydedd llwyr a gyrraeddwyd, a hynny rhwng cylchoedd pell oddi wrth eu gilydd, y rhai a ffurfiasent eu barn a'u harferion eglwysig i gryn raddau yn anibynnol ar eu gilydd, fel yr ydym yn rhwym o ystyried penderfyniadau y cynghorau yn ddyfarniad pwyllog, addfed, unllais, ar bwnc oedd o fewn ychydig iawn i gael ei benderfynu o'r blaen. Anawdd meddwl pa fodd y gallasai tystiolaeth oddi allan fod yn gryfach. Rhaid cofio o hyd, bid sicr, mai gwerth y llyfrau eu hunain ydyw eu prif hawl i le yn y Beibl; ond â'r dystiolaeth oddi allan y mae a wnelom yn y fan yma.

Fe â honno'n gryfach fyth pan gofiom ni pwy oedd heb dderbyn y llyfrau mewn dadl, a phaham. Nid yr un bobl oedd heb dderbyn pob rhai o honynt. Y mae gennym restrau o lyfrau'r Testament Newydd sy'n awgrymu'n bur eglur pa rai o honynt oedd yn brin neu yn eisieu yn eglwysi'r Gorllewin. Taflen Muratori ydyw un. Yn Milan y cafwyd hi; a chytunir ei bod hi'n hen iawn. Y dyb yw, ddarfod ei hysgrifenu hi gyntaf rywbryd tua 170 O.C.† Ar y rhestr honno y mae'r llyfrau

* Gwel Plummer ar Iago, tud. 14-19.
† Westcott ar y Canon. Argraffiad 4, tud. 209.

sydd gennym ni i gyd ond yr Epistol at yr Hebreaid, Iago, 1 ac 2 Pedr. Diau mai teg ystyried y rhestr yma'n gyflawn, ond y llyfrau a enwyd; canys er nad yw Matthew na Marc arni hi fel y mae yn awr, nid oes dim dwywaith nad oedd y ddau yno yn yr ysgrif wreiddiol. Dechreu yng nghanol brawddeg y mae'r darn sydd ar gael; a'r nodiad ar Efengyl Luc sy'n dechreu yn y frawddeg nesaf, lle y gelwir honno'n drydydd o'r llyfrau.* Gan fod Matthew a Marc ym mhob rhestr arall y gwyddys am dani, ac yn yr hen Feibl Syriaeg, y *Peshitto*, felly y mae pob sicrwydd a allwn ni gael ar bwnc o'r fath eu bod hwy yn hon hefyd. Rhestr a ddarganfyddwyd gan Thomas Mommsen, yn 1886, ydyw'r llall. Tybir mai cyn hyned a'r flwyddyn 859 ydyw hon. I Affrica y perthyna hi, megis y perthynai rhestr Milan i Ewrob. A'r epistolau sydd yng ngholl yn yr un Affricanaidd ydyw Iago, 2 Pedr, a Judas. Er nad yw hon cyn gynared o lawer a'r llall, eto diau ei bod hithau'n cyfateb i ystâd pethau yn y Gorllewin rai oesau cyn ysgrifennu'r rhestr ei hun. Os carem ni wybod wedyn pa beth a ddarllennid yn y Dwyrain, y mae'n digwydd fod gennym dyst gwell fyth, y Testament Peshitto, sef hen gyfieithiad Syriaeg a wnawd o fewn rhyw hanner can' mlynedd i'r oes apostolaidd.† Y rhai sydd ar ol yn y cyfieithiad hwnnw ydyw 2 Pedr, 2 a 3 Ioan, Judas, a'r Datguddiad.‡ A chymeryd Testament y Dwyrain, gan hynny, yn yr ail ganrif, a thaflenni Testament y Gorllewin yn yr ail ac yn y bedwaredd, a dodi'r gwahanol restrau ynghyd, i gyflawni diffyg eu gilydd, ni gawn Destament Newydd cyfan, cynarach lawer na'r cymanfaoedd y soniwyd am danynt. Yr oedd defnyddiau'r Testament sydd gennym ni ar gael ymhell cyn y cymanfaoedd hynny; ac mewn gwahanol fannau fe'u darllenid er ystalm fel Ysgrythyr, er nad i gyd yn yr un fan. Y cwbl a wnaeth yr hen gynghorau i'r llyfrau a amheuid oedd dethol o'u plith y rhai tebycaf o fod yn perthyn i'r oes apostolaidd, a chyhoeddi'r hyn a fuasai yn gysegredig o'r dechreuad mewn cylchoedd eang o'r eglwys yn eiddo cyffredin i'r eglwys i gyd.

A chwaneg, o wybod ym mha rannau o'r byd Cristnogol yr oedd y gwahanol lyfrau yma i'w cael, ni gawn amnaid am y rheswm paham y mae rhai o honynt ar ol mewn hen ysgrifau neu mewn hen daflenni. Ag Epistol Iago y mae a fynnom ni yn awr. Paham y mae hwnnw, a'r Epistol at yr Hebreaid, ar ol yn nhaflenni Affrica a'r Eidal, ac Epistol Cyntaf Pedr, un na bu dim amheuaeth yn ei gylch, ar ol mewn un o'r ddwy, a hwythau ar gael er yn bur fore yn Nhestament Syria? I feddwl di-ragfarn nid oes dim ond un ateb i'w roi. Os nad yw hyn oll yn ddamwain noeth, rhaid ei bod hi wedi digwydd felly o herwydd mai at eglwysi Iuddewig yr anfonwyd yr epistolau hyn; yr hyn sydd wir am ddau o honynt yn bendifaddeu, ac yn dra thebyg o fod yn wir am y trydydd, sef 1 Pedr. Os na yrrwyd hwnnw hefyd at eglwysi Iuddewig, y tebycaf yw iddo gael ei anfon, beth bynnag, at rai â'r elfen Iuddewig yn o gref ynddynt. Mewn ychydig leoedd y byddai lliaws o Iuddewon gyd â'u gilydd yn eglwysi'r Gorllewin. Bu adeg, fe ymddengys, pryd yr oedd yr Iuddewon yn lliosog yn Eglwys Rhufain, yn lliosocach, yn ol Zahn,§ na'r elfen Genhedlig, yn y ganrif gyntaf; ond lleihaodd eu nifer yno'n lled fuan; a gallwn fod yn dawel ar hynny mai ychydig oedd o honynt erbyn diwedd

* Westcott ar y Canon. Atodiad C tud. 515-516.
† M'Clymont. Cyf. Jenkins.
‡ Gwel Mayor ar Iago. Rhaglith tud. 47-49
§ Rhaglith Mayor, tud. 50-51.

yr ail ganrif yn yr Eidal. Heb law fod taflen Milan yn dangos hynny, sylwa Westcott* fod rhestr yr hen gyfieithiad Lladin a ddefnyddiai Tertullian yr un fath a'r daflen honno gyd â golwg ar Iago, Hebreaid, ac 2 Pedr, gan nad yw y tri yma ynddi hithau chwaith.

Yn awr, gan hynny, nid yw fod Epistol Iago heb ei gydnabod yn gyffredinol drwy'r Gorllewin yn profi dim ond fod yr eglwysi yno'n ddieithr i'r llyfr, a bod maes llafur ei awdwr a chylch ei ddylanwad ef yn rhy bell oddi wrthynt i lawer o gopïau o'i epistol fod yn eu cyrraedd hwy.

Yr ydym felly'n cael eglurhad boddhaol ar brinder y crybwyllion am Epistol Iago yn yr oesau boreaf, ac ar brinder y dyfyniadau o hono dan ei enw. Y peth tebycaf yw na wyddai llawer o'r tadau yn yr oesoedd hynny ddim am dano. Awgrymir i ni reswm arall am yr un peth, os edrychwn ni eto am funud ar restr Eusebius o'r llyfrau y bu dadl am danynt. Ni chynnwys hi'r un llyfr na fu peth amheuaeth rywdro, gan rywun, a ydyw yn waith apostol. Pa un ai ameu yr awdwr yr oeddid am fod amheuaeth ynghylch y llyfr, ynte ameu'r llyfr o herwydd ameu yr awdwr, sydd gwestiwn; ond y mae'n naturiol tybied fod a wnelo'r ddau beth gryn lawer â'u gilydd; ac am y rhan fwyaf o'r llyfrau mewn dadl y peth tebycaf yw mai meddwl nad oedd yr awdwr yn apostol oedd yr achos, ac mai meddwl nad oedd y llyfr yn Ysgrythyr oedd yr effaith. Dyna 2 a 3 Ioan heb enw'r ysgrifennydd, ac heb nemawr o gyffelybrwydd ynddynt i'r epistol cyntaf, yr hwn a briodolid yn gyffredin i'r Apostol Ioan Hwyrach na ellid pwyso ar ei waith yn ei alw'i hun yn 'henuriad,' gan fod Pedr yn 1 Pedr v. 1 yn galw'i hun felly hefyd. Eithr nid y pwnc yn y fan yma ydyw cyfiawnhau na datroi yr amheuon ynghylch apostoliaeth yr awdwr, ond yn unig coffa fod amheuon wedi bod, ac mai ameu'r awdwr, yn yr amgylchiad hwn beth bynnag, a barodd ameu'r ddau lythyr byr a briodolid iddo. Am dri eraill sydd ar y rhestr nid oes dim dwywaith braidd na fu a wnelai'r dyb eu bod heb eu hysgrifennu gan apostolion, lawer â pheri i rai eu gwrthod, ac i lawer heb law hynny fod heb glywed son am danynt. Nid yw'r llythyr at yr Hebreaid yn dwyn enw neb; ac y mae Iago a Judas yn rhoddi eu henwau, heb ddweud eu bod yn apostolion, yn groes hollol i ddefod y rhai oedd felly. Tybed nad oedd hynny'n rhywbeth at wneud i rai eu hameu?

Ni a welwn fod mewn amryw gylchoedd reswm digonol dros fod Epistol Iago heb ei gydnabod a'i ddarllen, sef nad oeddid yn gwybod am dano; a gwelwn gyd â hynny, mai'r peth tebycaf yw, fod ameu oedd Iago'n apostol wedi gyrru rhai i ameu oedd ei lyfr yn Ysgrythyr. Os cawn ni, er hynny, fod y dystiolaeth foreol yn o gref o'i blaid, rhaid cofio'i bod hi felly er gwaethaf anfanteision, a'i bod hi'n gryfach o gymaint a hynny; ac felly y mae, ond fod llawer o honi yn dystiolaeth led anuniongyrchol.

Ceir cyffelybrwydd mawr i'r epistol hwn mewn llyfrau pur gynnar. Y cynara'i gyd, fe allai, y tu allan i'r Testament Newydd, yw Epistol Cyntaf Clement o Rufain at y Corinthiaid. Felly y gelwir ef yng nghyfieithiad Saesneg Roberts a Donaldson o'r tadau apostolaidd, er yr amheuir yn gryf ai Clement oedd bia'r ail. Hwyrach mai'r ffordd oreu fydd dodi

* Rhaglith Mayor, tud. 48.

yma'n gyflawn ychydig o ddyfynion i ddangos hyn, yn lle cyfeirio at y lliaws esiamplau y mae ysgolheigion wedi cael hyd iddynt. Mewn ambell un o'r rheiny nis gellir bod yn sicr mai dyfynnu o waith y naill awdwr y mae'r llall, gan y gallai fod Iago a Chlement yn gyfarwydd â'r un dulliau o feddwl ac o ymadroddi, ac yn dweud pethau tebyg i'w gilydd, heb wybod am eu gilydd; ond am amryw byd o'r esiamplau, y peth mwyaf naturiol o lawer yw golygu ddarfod i un o'r ddau ysgrifennydd wneud defnydd o waith y llall. Barned y darllennydd.

'O herwydd ei ffydd a'i lletygarwch yr achubwyd Rahab y butain,' xiii. Lle y cyfunir golygiad Iago, 'Onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd hi?' â golygiad yr Epistol at yr Hebreaid: 'Trwy ffydd ni ddifethwyd Rahab y butain.' Iago ii. 25, Heb. xi. 31.

'Y rhai a orfoleddant yn ymffrost eu hymadrodd,' xxi. 'Gorfoleddu yr ydych yn eich ymffrost,' Iago iv. 16.

'Y mae gan y Tad, yr hwn sydd drugarog ym mhob peth a chymwynasgar, galon at bawb a'i hofnant ef; ac y mae yn tirion gyfrannu ei radau i'r rhai a ddel ato â meddwl unplyg. Am hynny na fyddwn ddau-ddyblyg ein meddwl,' xxiii. 'Gofynned gan Dduw, sy'n rhoi yn rhad i bawb ac heb ddannod, a hi a roddir iddo ef. Eithr gofynned mewn ffydd, heb ameu dim. Canys yr hwn sydd yn ameu sydd gyffelyb i don y môr, a yrrir gan y gwynt, ac a deflir. Canys na feddylied y dyn hwnnw y derbyn efe ddim gan yr Argiwydd, gŵr dau-ddyblyg ei feddwl, anwastad yn ei holl ffyrdd,' Iago i. 5-8.

'Danghosed y doeth ei ddoethineb, nid mewn geiriau, ond mewn gweithredoedd da,' xxxviii. 'Pwy sydd ŵr doeth a deallus yn eich plith? danghosed o'i ymarweddiad da ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra doethineb,' Iago iii. 13.

'Paham y mae ymrysonau, a chynhyrfiadau, ac ymbleidio, a rhwygiadau, a rhyfel yn eich plith chwi?' xlvi. 'O ba le y mae rhyfeloedd ac ymladdau yn eich plith chwi?' Iago iv. 1.

Yn awr os ydyw Clement o Rufain yn dyfynnu o Epistol Iago, rhaid nad yw'r epistol hwn yn ddiweddarach na diwedd yr oes apostolaidd, a bwrw fod y beirniaid Saesnig yn gywir am adeg ysgrifenniad llythyr Clement. Y mae Mayor yn rhoi 95 o.c., a Plummer yn rhoi 97. Myn Pfleiderer mai diweddarach na hynny ydyw llythyr Clement, rywle medd efe o 100 i 120; ond hyd yn oed felly byddai Iago'n gynnarach lawer nag y myn Pfleiderer ei fod. Myn efe ei roi cyn ddiweddared a chanol yr ail ganrif. Gorfyddai i ni dybied, ar y tir hwnnw, mai Iago sy'n dyfynnu Clement, ac nid Clement yn dyfynnu Iago. Beth all fod yn anhebycach? Digon o waith y deallasem ni'r meddwl dau-ddyblyg yn Epistol Clement oni buasai fod Iago wrth law i'w esbonio. Onid yw hynny'n un coel go dda mai Iago yw'r gwreiddiol? Myn'd yn ol y byddwn ni'n gyffredin, os bydd dyfynniad yn dywyll, i chwilio am eglurhad arno o'i gysylltiadau cyntaf. Un o ddeg y cawn ni ddim help wrth daflu'm mlaen o'r gwreiddiol at y copi. Yr un peth sydd i'w ddweud am air yn 'Nysgeidiaeth y Deuddeg Apostol,' llyfr a ysgrifennwyd yn y ffurf sydd arno yn awr tua'r un adeg ag yr ysgrifennodd Clement,* 'Na fydd ddau-ddyblyg dy feddwl, a fydd *y peth*

* 'Y Tadau Apostolaidd.' Lightfoot, tud. 216.

ai peidio, iv. 4. Heb law y byddai'n anawdd gwneud dim o hwn chwaith heb droi at Iago am eglurhad, y mae peth arall i'w ystyried. Pwy sydd debycaf, ar wahan i bob syniad am ysbrydoliaeth, o fod wedi tynnu'r fath addysg a'r fath gyfoeth o air yr Apocrypha* am y meddwl dau-ddyblyg, ai Iago, ynte Clement, ynte awdwr neu grynhöwr y 'Ddysgeidiaeth?' A oes gymhariaeth am funud rhwng un o'r ddau yna âg arddull finiog, neu â meddwl hoew, cydnerth, Epistol Iago? Gallesid taeru eu bod ill tri wedi dadblygu'r meddwl o'r Apocrypha bawb drosto'i hun; ond y peth fyddai yn erbyn hynny yw, mai nid yr un gair sydd gan yr ysgrifenwyr hyn ag sydd yn yr Apocrypha; fel y mae pob peth yn ein cau i'r dyb mai Iago a roes y syniad yn ei ffurf efengylaidd am y tro cyntaf, o'r awduron y mae eu gwaith ar gael. Felly, gan fod dyfynion o waith yr Iago yma i'w cael mor fore o bosibl a diwedd y ganrif gyntaf, yr ydym yn rhwym o rol'r epistol hwn o fewn oes rhai o'r apostolion, a dweud y lleiaf; pa mor gynnar yn honno, cawn weled yn y bennod nesaf.

Y mae llyfr arall yn gofyn peth sylw fel un a llawer o flas y llythyr hwn arno, 'Bugail Hermas;' llyfr, meddir, y darllenid mwy arno na braidd yr un arall yn niwedd yr ail ganrif.† Ar hwn eto y mae yr un ddadl yn codi, pa un ai Iago a wnaeth ddefnydd o 'Hermas,' ynte 'Hermas' a wnaeth ddefnydd o Iago? Bernir ddarfod ysgrifennu 'Hermas' tua 130 o.c. Rhydd Pfleiderer ef yn ddiweddarach, a Iago'n ddiweddarach wedyn, er na fyn yntau fod Iago wedi benthyca oddi ar 'Hermas.' Meddwl y mae fod y ddau lyfr yn gynnyrch yr un amgylchiadau, ac yn perthyn i'r un oes. Rhaid i'r Ellmyn sy'n dilyn beirniaid Tubingen gael holl lyfrau'r Testament Newydd cyn ddiweddared byth ag y byddo rhyw gysgod o esgus dros eu rhoddi. Ystumiant ystyr a bwriad amlwg yr awduron i gadarnhau eu rhagdybiau eu hunain. Os yw'r Sais yn rhy brin o ddawn i edrych ar hanes y byd â llygad athronydd, ac i adeiladu cyfanwaith o hono, y mae ar y mwyaf o'r ddawn yna, neu, a siarad yn fanwl, ar y lleiaf o rywbeth ar ei chyfer hi, mewn llawer o feirniaid yr Almaen. Odid na fydd gan bob tô, neu weithiau gan bob un o honynt, ryw gynllun ym mlaen llaw o'r llwybr y gallesid disgwyl i feddwl yr eglwys ei gymeryd. Os bydd rhywbeth mewn llyfr nas gellir ei gysoni â'r cynllun rhagdybiedig, beth sydd i'w wneyd ond rhoi eglurhad newydd a dieithr arno? Os annerch y deuddeg llwyth sydd ar wasgar y mae Epistol Iago, rhaid i hynny olygu credinwyr yn gyffredinol, gan fod adeg ysgrifennu'r llyfr yn rhy ddiweddar i oddef y dyb mai at eglwysi Iuddewig yr ysgrifennwyd ef. Y mae yn llawer rhy Gatholig ei dôn i fod yn lythyr at yr Ebioniaid, y blaid Iuddewig a gododd yn niwedd oes yr apostolion. Nid yw hyn ond un engraifft o ddull rhwydd Pfleiderer, a rhai tebyg iddo, o ystumio geiriau plaen i ategu rhyw ddamcaniaeth y bo pethau eraill go gryf i'w dweud drosti. Yn lle ailystyried y ddamcaniaeth, gwesgir pob peth i mewn iddi, weithiau'n gelfydd iawn, rhaid addef, dro arall yn dra anghelfydd. Yn lle llunio'r ffrâm i ateb i'r darlun, torrir y darlun, os bydd raid, i ateb i'r ffrâm. Y mae un cysur, pa fodd bynnag. Bydd rhai o feirniaid yr Almaen, rhyngddynt, wedi dyfeisio gyd â hyn bob ffordd i gyfrif am lyfrau'r Testament Newydd, ond yr un gyffredin, eu bod wedi eu hysgrifennu yn oes gyntaf crefydd Iesu Grist. Gallai mai'r diwedd fydd, y byddwn ni'n sicrach o ddiogelwch y ffordd honno nag erioed, wedi i bob un arall fethu.

* Ecclus i. 28.
† Gwel Rhaglith Roberts a Donaldson i 'Fugail Hermas.'

Os hynny fydd, mawr fydd ein dyled i'r beirniaid y mae cymaint o ddigofaint atynt mewn llawer cylch.

Pfleiderer ydyw un o'r rhai galluocaf o honynt yn ddiddadl; ac fe ddysg pob dyn mawr lawer i ni, heb i ni orfod syrthio i'r un farn ag ef. Y mae ei farn ef ar berthynas yr epistol yma â 'Bugail Hermas' yn werthfawr fel tystiolaeth groew i'r tebygrwydd mawr sydd rhwng y ddau lyfr a'u gilydd.* Y mae'r tebygrwydd yn anaws ei ganfod mewn esiamplau pennodol nag ydoedd rhwng Iago a Chlement, o herwydd fod 'Hermas' wedi ysgrifennu ei lyfr mewn rhan ar lun cyfres o weledigaethau, fel Llyfr Enoch, neu Lyfr y Datguddiad. Fe gais yr awdwr guddio'i waith yn defnyddio awduron eraill dan enw o gael y cwbl trwy ddatguddiad.† Y mae'r gwahaniaeth rhwng y ddau lyfr yn ddybryd i neb feddwl ameu pa un o'r ddau sydd yn nyled y llall. Ni wna'r ychydig ddyfynion a roddir yma ond awgrymu'r cyffelybrwydd a'r gwahaniaeth. Y sawl a fynno weled a theimlo'r peth yn iawn, ceisied, neu ceisied fenthyg, yr '*Apostolic Fathers*.' Y mae llyfrdai lle y gellir ei gael yn awr. Darllened y cyfleithiad Saesneg o 'Fugail Hermas' o'i gwrr; yna darllened Epistol Iago; a gofynned iddo ei hun, a oes bosibl fod yr un oes a'r un amgylchiadau wedi cynyrchu'r ddau? Os nad oes, y mae tebygrwydd amlwg yn 'Hermas' i'r epistol hwn yn dystiolaeth i gynarwch yr epistol. Dyma ychydig esiamplau—

'Gyrr oddi wrthyt y meddwl dau-ddyblyg; ac na fydd o gwbl yn ddau-ddyblyg dy feddwl i ofyn gan Dduw. . . . Gofyn ganddo ef heb ameu, a thi a gei wybod ei fawr drugaredd ef. . . . Canys nid yw Duw megis dynion, y rhai sy'n cofio drygau; ond anghofus o ddrygau yw efe. . . . Canys y rhai amheus o Dduw, y rhai hyn sydd ddau-ddyblyg eu meddwl; ac ni chânt ddim o gwbl o'u deisyfiadau. . . . Ond y rhai sydd berffeith-gwbl eu ffydd, hwy ofynnant bob peth gan gredu yn yr Arglwydd; a hwy dderbyniant. . . . Eithr os digalon a fyddi, a dau-ddyblyg dy feddwl, wrth ofyn, beia dy hun, ac nid yr hwn sy'n rhoddi i ti.' Gorchymyn ix. Sylwa Mayor fod gair Iago, 'dau-ddyblyg ei feddwl,' yn digwydd mewn gwahanol ffurfiau bedair gwaith ar ddeg mewn deugain llinell. Cymh. Iago i. 5-8, a iv. 1-10.

'Y mae'r tlawd yn gyfoethog mewn eiriolaeth. . . . a gallu mawr sydd gan ei eiriolaeth ef gyd â Duw.' Cyffelybiaeth ii. 5.

'Oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas a addawodd efe i'r rhai a'i carant ef?' Iago ii. 5. Cymh. hefyd i. 9, a v. 16.

'Y rhai y cafwyd eu brigau wedi gwywo, ac wedi eu bwyta gan bryfed, dyma wrthgilwyr a bradwyr yr eglwys, a'r rhai a gablasant eu Harglwydd yn eu pechodau, ac eto hefyd a gywilyddiasant o enw'r Arglwydd yr hwn a alwyd arnynt hwy.' Cyffelybiaeth viii. 6, 4.

'Onid ydynt hwy'n cablu'r enw rhagorol yr hwn a elwir arnoch chwi.' (Yr un ffurf ymadrodd yn union sydd yn y dyfyniad o Hermas.) Iago ii. 6.

* Rhaglith Mayor, tud. 140-142.
† Rhaglith Mayor, tud. 61.

'Eich gwisgoedd a fwytäwyd gan bryfed,' v. 2.

'Os na chofia Duw ddrwg yn erbyn y rhai a gyffeso'u pechodau, a gofia dyn ddrwg yn erbyn dyn, megis pe gallai ei golli neu ei gadw ef?' Cyffelybiaeth ix. 23.

'Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon gadw a cholli: pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu arall?' Iago iv. 12.

Yr wyf wedi cyfieithu'r darnau o 'Hermas' yn o gaeth, er mwyn dangos ei ffordd o adrodd geiriau Iago eilchwyl ac eilchwyl heb eu dyfynnu ar eu hunion, ac er mwyn cyferbynnu arddull lac, drofäog, gymysglyd y naill, âg arddull dambaid, syml, a digwmpas y llall. Y mae 'Hermas' yn ddiddawn o'i gymharu â Chlement; ac y mae dirfawr bellter rhyngddo âg ysgrifenwyr y Testament Newydd.

Y mae dyled 'Hermas' i'r epistol yma'n amlycach fyth yn y Groeg; canys ceir gan 'Hermas' amryw o eiriau anghynefin Epistol Iago, megis 'amwastad' (Iago i. 8). Cymh. 'anllywodraethus' (iii. 8.) 'Moethus fuoch, a thrythyll' (v. 5), ac yn y blaen.

Ni gawn ddyfyniad pur hynod yng ngwaith Justin Ferthyr (O.C. 165). 'Na thyngwch o gwbl: ond yr ïe, ïe, a'r nag e, nag e, fyddo gennych chwi,' lle y dilynir yn fanwl y ffurf sydd ar gyngor y bregeth ar y mynydd yn Iago v. 12. Gwel nodiadau yn y fan honno. Ond pa raid i ni liosogi dyfynion ddim pellach? Yr ydym wedi dyfod i lawr at adeg pryd yr oedd yr epistol wedi ei ysgrifennu yn ol addefiad y beirniaid mwyaf chwildroadol.

Y mae Irenæus,* tua'r flwyddyn 200, yn dweud mai gair yr Arglwydd ydyw 'cyfraith rhyddid, wedi ei gyhoeddi gan yr apostolion;' ac ni cheir yr ymadrodd ond gan Iago o holl awduron yr oes apostolaidd. Myn rhai fod Clement o Alexandria yn dyfynnu Iago: ond nid oes sicrwydd am hynny. Eithr dyfynnir ef fel Ysgrythyr gan Origen tu hwnt i bob dadl.† Yn ol cyfieithiad Lladin Rufinus fe gyfeiria at Iago ii. 21 mewn geiriau diamwys: 'Mewn man arall o'r Ysgrythyr.' Yn ol ymadrodd arall o'i eiddo gesyd Iago'n lled gyfartal ei awdurdod, gellid meddwl, a'r Apostol Paul. 'Nid Paul,' eb efe, 'yn unig sy'n dywedyd y pethau hyn. Clyw Iago brawd yr Arglwydd yn dywedyd yr un peth.' Yna fe ganlyn ddyfyniad o Iago iv. 4. Y peth y myn rhai ei fod yn gwanychu'r dystiolaeth yw, nad oes gennym mo honi bellach ond yn y cyfieithiad Lladin, ac nad yw Rufinus yn gyfieithydd cywir iawn. Ond y mae tystiolaeth go gref, er nad llawn cyn groewed, i'w chael yn y rhannau Groeg sydd gennym o'i waith; ac nid oes neb rhyngom âg Origen wrth ddarllen honno. Y mae'n dyfynnu Iago ii. 20, neu 26, gyd â'r sylw hwn: 'Fel y darllenwn ni yn yr epistol y dywedir mai eiddo Iago yw.'

Yr oedd Origen yn byw yng nghanol y drydedd ganrif; felly dyma ni bellach wedi dod o fewn un oes go hir i ddyddiau'r cynghorau y soniwyd am danynt yn nechreu'r bennod, dyddiau Athanasius a Chrysostom, Awstin a Jerome; ac ni a wyddom fod y rhai hyn yn derbyn Epistol Iago, fel yr Ysgrythyrau eraill, yn ddi-nag. Bydd dyfyniad neu ddau yn ddigon

* Rhaglith Mayor, tud. 62.
† Tud, 63, 64.

er siampl. Dyma eiriau Athanasius wrth goffa Iago i. 18: 'Fel y dywed Iago'r Apostol yn ei ddysgeidiaeth.' Y mae ei waith yn galw Iago'n apostol yn dangos beth oedd meddwl Athanasius o'r llythyr, er, wrth reswm, nad yw yn profi mai apostol ydoedd. 'Os mynnwch chwi,' ebai Chrysostom, 'mi ddygaf i chwi dyst gwerth ei gredu, Iago brawd yr Arglwydd,* yr hwn a ddywed, Ffydd heb weithredoedd marw yw.'†

Ar ol oes yr hen gynghorau ni chodwyd mo'r cwestiwn am le'r epistol yn y Canon hyd ddyddiau'r Diwygiad Protestanaidd; a chan mai mewn gwedd gwbl newydd y codwyd y cwestiwn y pryd hwnnw, nid rhaid i ni ei olrhain ymellach yn y bennod hon. Fel pwnc o hanes noeth, ni a gawsom fod barn ac awdurdod yr eglwys o'i blaid ef, a bod arweinwyr yr eglwys felly o ganol y bedwaredd ganrif beth bynnag. Ysgrifennodd Bede, er engraifft, un o brif saint Eglwys Loegr, esboniad arno. Gwelsom hefyd fod eglurhad boddhaol i'w gael ar ddistawrwydd cymharol y tadau cynaraf yn ei gylch, ac ar yr amheuaeth a deimlai rhai am dano; a chawsom le cryf i gredu fod digon o dystiolaeth foreol i ddatroi gwrthddadleuon beirniaid diweddar yn erbyn hynafiaeth y llyfr. Os cawn ni eto, pan ddown ni at hynny, ei fod yn llyfr gwerth ei adael yn y Testament Newydd, y mae ei hawl i fod yn rhan o'r Beibl ar dir cadarn iawn. Y mae gennym bob sicrwydd y gall beirniadaeth hanesyddol deg ei roi ei fod yn waith rhyw un o athrawon yr eglwys yn yr oes apostolaidd.

* Yn llythrennol, 'brawd Duw.' † Rhaglith Mayor, tud. 66, 67.

## PENNOD II.

### PA BRYD YR YSGRIFENNWYD YR EPISTOL?

CWESTIWN llai ei bwys, ond nid llai ei ddyddordeb, na'r un y buom yn ei gylch yn y bennod o'r blaen, yw, Pa bryd yn yr oes apostolaidd yr ysgrifennwyd yr epistol hwn? Nid yw y cwestiwn hwn yn ddibwys chwaith; canys o'i benderfynu, cyn belled ag y mae hynny yn bosibl, ni gaem le i siarad yn fwy hyderus am berthynas dysgeidiaeth Iago âg eiddo rhai eraill o awduron y Testament Newydd. Yn wir y mae lliw'r dyb am adeg ei ysgrifeniad i'w weled yn gryf ar syniadau rhai esbonwyr ar fater a chynnwys y llyfr.

Cymerwn yn ganiatäol, i gychwyn, ei fod yn gynnarach, beth bynnag, na dinistr Jerusalem, o.c. 70; oblegid anhebyg iawn fuasai i'r awdwr beidio son am rai o amgylchiadau'r rhyfel hwnnw, pe buasai'r rhyfel newydd fod. Pe'n fuan wedi'r dyddiau hynny yr ysgrifenasid y llythyr, ni a gawsem yn sicr braidd gyfeiriadau at y dinistr fel barn Duw. . . . Atebasai hynny ddiben yr awdwr yn y modd goreu, wrth son am y cyfoethogion moethus a gorthrymus a barent y fath ddioddef ym mhlith y brodyr. Ond yn lle coffau barn a fu, proffwydo y mae efe am farn i fod.*

Y mae'n bur anhebyg, fel y dywed Huther, yr esboniwr ar Iago, yng nghyfres Meyer, i'r llythyr gael ei ysgrifennu yng nghanol y ddadl a fu gyd â golwg ar dderbyn y Cenhedloedd i'r eglwys heb eu gwneuthur yn broselytiaid Iuddewig yr un ffordd. Prin yr ysgrifenasai neb o arweinwyr yr eglwys yn y cyfnod hwnnw, ac ysgrifennu at Iuddewon hefyd, heb wneud rhyw gyfeiriad at y pwnc. Yn awr y mae'n gymharol hawdd penderfynu hyd cyfnod y ddadl, a chynnwys yn hynny yr ymosod fu ar Paul gan ragfarn Iuddewig rhai athrawon a ddarlunir yn yr Epistol at y Galatiaid. Fel y gŵyr llawer darllennydd, 'epistolau'r ddadl' ydyw enw'r cwlwm hwnnw o epistolau Paul, gan y beirniaid; a chan rai yn yr Almaen cymerir distawrwydd epistolau'r cyfnod nesaf ar ol hyn, ar bynciau'r ddadl, yn rheswm dros feddwl na allai y rheiny fod yn waith Paul. Nid yw y llythyrau hyn yn hollol ddistaw chwaith; eto y mae eu distawrwydd cymharol yn ddigon i ddangos mai ail beth, erbyn hyn, ym meddwl yr apostol oedd y ddadl âg athrawon yr enwaediad. Dywedai Pfleiderer yn ei 'Hibert Lecture,' yn y flwyddyn 1885, fod gwres y ddadl yn dechreu oeri yn yr Epistolau at y Corinthiaid, a bod Paul yn siarad am ei wrthwynebwyr Iuddewig mewn tymer gymodlawn yn yr Epistol at y Rhufeiniaid. Felly gallwn gymeryd adeg ysgrifennu'r epistol hwnnw, y flwyddyn 58 yn ol Lightfoot,† fel terfyn y ddadl ynghylch derbyn y Cenhedloedd i'r eglwys heb enwaediad. Hysbys yw ddechreu o'r ddadl hon tu ag adeg y cynghor a gofnodir yn Act. xv., o.c. 50 neu 51. Byddem yn ddiogel felly wrth ddodi terfynau'r cyfnod rhwng 50 a 58, ac wrth feddwl ddarfod i Iago ysgrifennu rywle'r tu allan i'r cyfnod yna.

* v. 1-11. † Lightfoot ar y Galatiaid. Argraffiad 9, tud. 40.

Fe ddaw hyn yn debycach fyth os cawn ni, wrth chwilio'r rhan honno o'r pwnc, mai Iago brawd yr Arglwydd oedd yr Iago hwn, fel y cytunir gan y rhan fwyaf o lawer. Yr oedd gan yr Iago hwnnw law yng ngweithrediadau'r Cyngor Apostolaidd; a'i gynnyg ef a enillodd lais y cyfarfod, ac a benderfynodd y mater mor bell ag y gallai awdurdod ei benderfynu. Ond amlwg yw nad oedd pawb yn ddiddig ar y penderfyniad, a bod llawer o'r enwaediad heb ymostwng iddo, er mai Iago a'i lluniasai. Anhebyg iawn gan hynny fuasai i Iago ysgrifennu yn y cyfnod hwnnw heb wneud math yn y byd o gyfeiriad at y cwestiwn.

Fe'n ceuir ni bellach, ynte, i un o ddwy dyb, naill ai ddarfod ysgrifennu'r epistol hwn cyn i'r ddadl ynghylch derbyn y Cenhedloedd godi, neu ynte na ysgrifenwyd mo hono nes ei bod hi wedi distewi, wedi peidio beth bynnag a chadw'r lle blaenaf ym meddyliau'r disgyblion.

Yr arfer fyddai ei gyfrif yn rhan gymharol ddiweddar o'r Testament Newydd; ac y mae rhai o awdurdodau beirniadol y ganrif yma yn taro'r un ffordd. Felly y gwna Bleek,* Veisinger,† a Davidson,‡ yr hwn a'i gesyd mor ddiweddar a'r flwyddyn 68. 'O.C. 60' sydd ar gyfer yr epistol yn yr *Oxford Teacher's Bible.* Dyma rai o'r rhesymau a gynygir dros farnu fel yna.

Dywedir nad oedd dim cylch mawr o eglwysi Iuddewig, fel y mae'r llythyr yn ei dybied, cyn cyhoeddi'r cylchlythyr i ryddhau y Cristnogion Cenhedlig oddi wrth lawer o ddefodau'r ddeddf, Act. xv. 23-29. Nid yw hyn, pa fodd bynnag, wedi ei brofi o gwbl. Addefir yn wir ddarfod i'r eglwysi Iuddewig liosogi cryn lawer o'r pryd hwnnw allan, gan y byddai'n anawdd gan Iuddewon rhagfarnllyd iawn ddygymod â'r trefniant cymhedrol hwn: ond peth arall yw dweud nad oedd dim nifer gwerth son am dano o eglwysi Iuddewig o'r blaen. Eglwysi Iuddewig o ran eu ffurf oedd y cwbl cyn bedyddio'r eunuch o Ethiopia gan Phylip; canys yr oedd y Cenedl-ddynion a dderbyniasid ar ddydd y Pentecost i gyd yn broselytiaid.

Dywedir fod yr epistol yn tybied llygredigaethau rhy warthus i fod wedi dyfod i mewn ym mlynyddoedd cyntaf yr eglwys. Ond pa lygredigaethau ydynt, atolwg? Onid hen lygredigaethau'r genedl er cyn cof: balchder, bydolrwydd, gorthrwm, ac yn y blaen? Os gallai Ananias a Saphira wneud y fath gytundeb â'u gilydd i dwyllo'r apostolion, cyn i ddiwygiad mawr y Pentecost oeri, pa eisieu aros i oes gyfan fyned heibio cyn cael hyd i eglwysi llygredig? Y gwir am dani hi yw, mai dychymyg noeth ydyw fod o angenrheidrwydd ryw gyfnod maith o ddiniweidrwydd ar eglwysi'r oes honno, cyn i lygredigaethau dorri allan. Tebycach lawer mai heb eu diddyfnu oddi wrth eu rhagrith a'u bydolrwydd yr oedd lliaws o ddisgyblion Iuddewig, fel y gwyddom ni mai heb lwyr adael eu heilunod a'u haflendid yr oedd llawer o ddychweledigion o'r byd Paganaidd. Pa faint oedd oed eglwys Corinth, pan ysgrifenai Paul ei lythyr cyntaf ati hi, O.C. 57, a'i cheryddu hi am oddef aflendid a fuasai'n fater o gywilydd ym mysg y Paganiaid eu hunain.§ Ac nid rhyfedd fod Cristnogion newyddion yn o hir yn ymysgwyd oddi wrth eu hen fywyd. Yr un peth ydyw profiad

* Lightfoot, Gal.; Argraffiad 9, tud. 3. † Huther, tud. 36.
‡ Mayor, Rhaglith, tud. 128-130. § 1 Cor. v. 1-2.

y meusydd cenhadol heddyw. Dywed y Dr. John Roberts fod yn amheus ganddo ef a dderbyniodd efe ddyn duwiol i'r eglwys ar Fryniau Cassia erioed, er fod cannoedd o'r rhai a dderbynir yn troi'n Gristnogion llewyrchus wedyn. Ni a wyddom y bedyddid teuluoedd cyfain yn y'r oes apostolaidd; ac nid oes dim sicrwydd fod pob un o'r rhai a fedyddid wedi profi pethau mawr. Y peth a geisiai'r apostolion wrth dderbyn rhai i mewn oedd arwyddion clir fod y dyn dan driniaeth gan Ysbryd Duw. 'A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai fyddent gadwedig,'* yn llythyrennol 'y rhai yr oeddid yn eu hachub,' neu 'y rhai yr oedd y gwaith o'u hachub wedi dechreu.'

Dadl arall yn erbyn rhoi'r epistol yma'n un cynnar ydyw, fod yma gyfeiriad eglur at ryw wedd ar ddysgeidiaeth Paul. Ond os nad yw hynny'n bod, y mae'r ddadl yna yn syrthio i'r llawr; ac y mae rhai o'r beirniaid sy'n cyfrif yr epistol yn un diweddar, yn dal fel Veisinger, nad yw yn bod.†

Dywedir ym mhellach nas gall fod yr epistol yn un cynnar iawn, gan ei fod yn tybied eglwysi rhy addfed o ran eu trefn. Sonir am henuriaid, yr hyn a brawf, meddir, fod yr eglwysi hyn yn ddigon pell ym mlaen i feddu swyddi a swyddogion dewisedig ar wahan i gorff yr aelodau. Dadl wan i adeiladu arni ydyw hon eto. Yn un peth, pe byddai'r hyn a ddywedir yn llythyrennol gywir am yr epistol, ni phrofai hynny mo'r pwnc; oblegid pa le y caed cymdeithas o fath yn y byd heb ei swyddogion. Anwareidd-dra noeth, diffyg cymdeithas, ydyw ystâd lle mae dynion yn haid gyd â'u gilydd, heb neb amlycach nag arall yn eu plith. Y mae gan bob dinas yn Israel ei henuriaid er pan ddaeth Israel i Ganaan. Eithr nid yw y dywediad yn hollol gywir yn yr ystyr yr arferir ef gan Davidson, yn un. Y meddwl, y mae'n debyg, yw, fod Epistol Iago'n tybied cymdeithas a chyfansoddiad ffurfiol ganddi, a'r llinell derfyn wedi ei thynnu'n bur groew rhwng y dosbarth swyddogol a gwerin yr eglwys. Nid oes dim sill yn yr epistol i ddangos fod hynny'n bod o gwbl. Yn wir, y mae un neu ddau o bethau yn taraw yn hollol fel arall. Yr oedd y cylch swyddogol yn ddigon llac, beth bynnag, i'r drysawr neu rywun arall allu rhoi'r eisteddle goreu yn y synagog i ŵr mawr a ddelai i mewn; ac os goddefid rhoddi'r gŵr mawr i eistedd mewn cystal lle a'r swyddogion, ac yntau o bosibl yn ddieithr, pwy ŵyr, os deuai efe yno'n gyson, na fyddai y rhai oedd mor chwannog i'w anrhydeddu, yn barod i roi urddas swyddog iddo, heb ddim i'w godi ef i sylw ond y fodrwy aur.

Hefyd nid yw y cylch yn rhy gyfyng i ddynion pur anianol a digymhwysder ryfygu rhuthro i'r blaen heb eu hurddo na'u galw mewn un modd. 'Na fyddwch athrawon lawer,' ebai Iago.‡ Fe ddigwydd yn aml fod gan gymdeithas ei swyddogion ym mhell cyn bod cylch y swyddogaeth wedi ei nodi'n groew. Hi all fod yn hir heb ei chyfansoddiad ffurfiol a'i rheolau. Bu Methodistiaid Cymru am o leiaf hanner can' mlynedd heb gyhoeddi'r un gyfres o reolau; ond yr oedd ganddynt eu swyddogion braidd o'r cychwyn. A phwy ŵyr faint o'r rheiny oedd wedi hen afael yn eu gwaith cyn eu gosod mewn swydd, na'u cydnabod yn ffurfiol gan unrhyw lys? Felly yr oedd hi, ond odid, yn eglwysi'r gwasgariad pan ysgrifennai Iago

* Act. ii. 46-47. † Gwel isod ar ii. 14-26. ‡ iii. 1.

atynt. Nid oes dim anghydwedd â chynarwch y llythyr yn ystâd swyddogaeth yr eglwys ar y pryd.

Os nad oes gan ddynion craff, galluog, ac ysgolheigion gwych, well rhesymau na'r rhai hyn dros gyfrif y llyfr yn un diweddar, nis gall fod llawer o ddim yn erbyn i ni ei roddi'n gynnar iawn, a bwrw fod rhesymau go gryfion yr ochr honno. Ni feddwn ni mo'r defnyddiau erbyn hyn i gyrraedd sicrwydd terfynol ar bwnc o'r fath; ond, wedi ei gael i hyn yma o gongl, y mae'r mater yn un y bydd y darllenydd cyffredin, yn ol graddau'i synwyr, mewn cystal mantais i farnu arno a'r ysgolhaig; a thueddu'r oeddwn i, cyn gwybod fawr ddim am hanes beirniadol y llythyr, i gredu fod raid ei ddodi'n gynarach nag yr arferid gwneud, fel yr oedd yn o hawdd gennyf roi croesaw i'r syniad ei fod yn gynarach nag adeg y Cyngor y soniwyd am dano. Y mae rhes o enwau gwych o blaid ei ddyddio o flaen y flwyddyn 50: Neander, Huther, Plumptre, Plummer, a Mayor, yr ymchwilydd cyflawnaf yn Lloegr i'r holl gwestiwn.

Lle y bo profion pendant yn brin, y mae mân resymau, os byddant yn gogwyddo'r un ffordd, yn help i droi'r fantol. Y mae rhai go fân, rhaid addef, wedi taro gwahanol esbonwyr ar y pen hwn; eto y mae ambell un o'r rheiny yn werth ei grybwyll; ac er na byddai llawer o rym yn yr un o honynt ar wahan, y maent gyd â'u gilydd yn rhoi argraff led groew ar y meddwl.

'Synagog' ydyw'r gair a gyfieithir 'cynulleidfa' yn ii. 2. Y mae'n wir y dadleua Pfleiderer nad oes dim pwys yn hynny, gan y gallai ysgrifennwr Iuddewig yn anfon at eglwysi Iuddewig yn yr ail ganrif ei arfer. Gwir y gallai, ond a fuasai rhyw debyg iddo wneud, a chofio nad oes neb ond Iago o awduron y Testament Newydd yn gwneud? Y mae'r gair yn swnio, beth bynnag, fel pe byddai'r adeg heb ddyfod i ddisgyblion Iesu Grist deimlo'u hunain yn rhywbeth amgen na sect Iuddewig. Hwyrach fod yr enw 'Cristnogion' heb ymledu eto o Antiochia i Judea ac eglwysi'r gwasgariad. Tu a 44 yr arferwyd ef gyntaf.* Nid at yr enw 'Cristnogion' y cyfeiria Iago yn ii. 7, fel y myn Deems. Enw Crist yn ddiau a feddylir wrth 'Yr enw rhagorol,' pa beth bynnag a ddeallom ni wrth y gair a chwanegir, 'Yr hwn a alwyd uwch eich pennau chwi yn y bedydd,' fel y myn rhai, ai yn syml 'Yr hwn a alwyd, neu a elwir, arnoch chwi yn y broffes yr ydych yn ei gwisgo ger bron y byd.' Beth bynnag am hynny, y mae'r Cristnogion yn awr, er derbyn yr Iesu fel Messiah, heb sylweddoli eto faint y mae hynny'n ei gynnwys, ac mor bell y maent wedi teithio o diriogaeth yr hen gyfamod.

Dyry Plumptre awgrym pur gywrain, ond nid rhy gywrain i fod yn debygol, am gysylltiad yr epistol yma â'r cwestiwn a fu ger bron y Cyngor. Yn Actau xv. 24, yn y llythyr a eiriwyd o bosibl gan Iago, dywedir: 'Yn gymaint a chlywed o honom ni, i rai a aethant allan oddi wrthym ni eich trallodi chwi â geiriau, gan ddymchwelyd eich eneidiau chwi, a dywedyd fod yn rhaid enwaedu arnoch a chadw y ddeddf; i'r rhai ni roisom ni gyfryw orchymyn; . . .' A'r awgrym yw mai ar Iago ii. 10 y seiliai'r cynhyrfwyr hyn eu dadl. 'Pwy bynnag a gadwo y gyfraith i gyd

* Actau xi. 26.

oll, ac a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl.' Gwyrdröent y gair i olygu'r gyfraith yn ei defodau seremoniol, yn lle'r gyfraith frenhinol, 'Câr dy gymydog fel ti dy hun;' a gwnaent hynny ar draws eglurhad pendant Iago'i hun.* Yn awr ni a wyddom fod pobl anwybodus, ac yn enwedig pobl ddigydwybod, yn defnyddio awdurdod eu harweinwyr yn y fel yna. Felly y gwnaeth rhywrai âg awdurdod Paul, i drallodi'r frawdoliaeth yn Thessalonica ar fater arall; a dyna'i ateb ef i'r cyfryw ymyrraeth anheg, sicrhau i'r brodyr, fel y gwna Iago â'r apostolion yn y Cyngor, nad oedd dim o'r hyn a ddywedid i'w trallodi hwy yn ei fwriad ef wrth ysgrifennu. 'Ac yr ydym yn atolwg i chwi, frodyr, er dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, a'n cydgynhulliad ninnau ato ef, na'ch sigler yn fuan oddi wrth eich meddwl, ac na'ch cynhyrfer, na chan ysbryd, na chan air, na chan lythyr, megis oddi wrthym ni.'† Os cywir y dyfaliad yna, fe gadarnha'r dyb ddarfod ysgrifennu Epistol Iago cyn adeg y Cyngor.

Peth arall, cyd-daraw âg epistolau cynnar y Testament Newydd y mae deongliad Iago‡ ar y proffwydoliaethau am yr ail ddyfodiad.|| Yn hyn y mae'r epistol yn debycach i Epistolau Paul at y Thessaloniaid nag i'r un at y Philippiaid, dyweder, ac yn debycach i Epistol Cyntaf Pedr nac i'r Ail.

Ond a gadael bellach ystyriaethau nad ydynt ar y goreu ond ategion i gasgliad y deuir iddo ar gyfrifon eraill, y rheswm cryfaf tu hwnt i bob cymhariaeth dros osod epistol Iago'n gynnar iawn, os nad yn gynnara'i gyd ym mysg llyfrau'r Testament Newydd, yw y wedd gynnar a ddyry'r epistol ar athrawiaethau'r efengyl. Nid ydyw, y mae'n wir, mor ddiathrawiaeth ag y myn rhai; ond yn ei gwedd fwyaf elfennol y ceir yr efengyl yma, heb ei thynnu o'i phlygion. Y pynciau a drinir yma yn eu haddfedrwydd—megis pechod, gweddi, doethineb—pynciau ydynt sydd wedi eu hagor i fesur yn yr Hen Destament a'r Apocrypha, pynciau sylfaenol crefydd yn hytrach na phynciau sylfaenol Cristnogaeth; er bod Iago yn eu trin hwy dan lewyrch tambaid y datguddiad sydd yng Nghrist Iesu. Yr athrawiaethau sy'n eiddo neilltuol i'r efengyl, o'i chyferbynnu â phob crefydd arall, y rhai oedd i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb, y mae rhai o honynt heb eu henwi o gwbl, a'r lleill i'w cael yma'n unig yn eu hadau.

Nid oes yma gymaint ag un cyfeiriad plaen diamwys at angeu'r groes. Gwir y gwel rhai gyfeiriad at hynny yn v. 6, a v. 11; ond llawer tebycach mai'r esboniad arall sy'n gywir yn y ddwy adnod.

Ni chrybwyllir atgyfodiad Crist dan ei enw chwaith. A ydyw 'Arglwydd y gogoniant' yn ii. 1 yn gyfeiriad at hynny sydd gwestiwn.

Unwaith yr enwir yr Ysbryd Glân, sef yn iv. 5; ac amheuir gan rai ai yr Ysbryd Glân sydd i'w olygu yno wrth yr 'ysbryd a osododd efe ynom ni.' (Gwel isod ar y geiriau . . .).

Nid yw gair mawr y Testament Newydd am gariad (*agape*) yn yr epistol. Y mae y peth yma, ac yma'n bur amlwg; y mae y ferf 'caru' yma hefyd amryw droion; ond nid yw yr enw ddim. Yn y LXX. y ceir yr enw

* Plumptre ar Iago, tud. 40-42. † 2 Thes. ii. 1-3. ‡ Iago v. 8, 9.
|| Gwel isod ar y pwnc, tud. 82 o'r Esboniad.

'cariad'* am y tro cyntaf, meddir, mewn llenyddiaeth Roeg. O ysgrifenwyr y Testament Newydd, Iago a Marc sydd heb ei ddefnyddio yn y ffurf honno; ac eto'r oedd ar Iago yntau eisieu'r gair. Y mae priodoleddau doethineb Iago bron yr un rhai a phriodoleddau cariad gan Paul.† Rhaid i ni dybied, felly, mai heb ddyfod i arferiad cyffredin yr oedd y gair pan ysgrifennai Iago, er ei fod i'w gael yn nysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu, yn enwedig yn ei ddyddiau olaf.‡ Fe brawf hyn fod Iago, er yfed yn ddwfn o ddysgeidiaeth y Gwaredwr, yn gorfod bathu ei feddyliau â delw ac argraff yr hen oruchwyliaeth. Nid oedd y bathluniau newyddion wedi eu gorffen eto. Yr oedd llawer gras a dawn ac athrawiaeth wedi eu darganfod, ond heb eu henwi. Fe'u dygid gan Ysbryd yr Arglwydd at athrawon yr eglwys i'w teitlo, fel y dygwyd y creaduriaid gynt at Adda. Ni wyddom ni ddim pa fodd y tarawodd Adda ar enwau; ond gwyddom o'r goreu pa fodd y byddwn ni'n cael enw ar beth newydd, trwy ei gyferbynnu neu ei gymharu â rhywbeth oedd yn hysbys o'r blaen. Pa ryfedd i Iago, ac yntau'n byw mewn rhyw gyfwng felly, ddodi enwau o'r Hen Destament ar bethau'r Newydd, yr un fath ag y byddai'r hen seryddion yn rhoi enwau creaduriaid y ddaear ar finteioedd ser y nef? Cyfraith y geilw Iago rad ras yr efengyl, ond 'perffaith gyfraith rhyddid.' Geiriau fel rhai'r proffwydi sydd ganddo wrth annog i edifeirwch,‖ ac esiamplau o'r Hen Destament—Job a'r proffwydi,§ wrth annog i ddioddefgarwch. Yn y peth diweddaf yna y mae yn dra gwahanol i Glement, yr hwn y mynnai rhai i ni gredu fod Iago'n ei ddilyn. Y mae Clement, heb law son am ddioddefiadau'r Gwaredwr, yn son am ferthyrdod Pedr a Phaul.

Yn ddiweddaf, y mae Iago wedi digwydd rhoi siampl o gredo'i ddarllenwyr; a'r erthygl gyntaf yng nghredo'r Iuddew ydyw honno: 'Credu'r wyt ti mai un yw Duw.'** Dyma'n union y peth a ddisgwyliasem mewn Cristnogion heb orffen eu goleuo am bethau teyrnas Duw. pobl yn byw ar y ffin rhwng yddwy oruchwyliaeth. Beth bynnag am ddiwinyddiaeth Iago ei hun, fe gyfaddasai ei ddysgeidiaeth yn ddiau at gyraeddiadau ei ddisgyblion.

Mor wahanol yn hyn ydyw Epistol Iago i epistolau diwedda'r Testament Newydd. Yn Epistolau Bugeiliol Paul ni a gawn bethau tebyg i gredoau byrion, weithiau o waith yr apostol ei hun, dro arall wedi eu codi o bosibl o ryw ddarnau yr arferid eu dysgu i blant a disgyblion newydd eu derbyn. 'Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid.' 'Gwir yw y gair; Canys os buom feirw gyd âg ef, byw fyddwn hefyd gyd âg ef; os dioddefwn, ni a deyrnaswn hefyd gyd âg ef; os gwadwn ef, yntau hefyd a'n gwâd ninnau; os y'm ni heb gredu, eto y mae efe yn aros yn ffyddlawn, nis gall efe ei wadu ei hun.'†† Ni cheir mo'r diarhebion diwinyddol hyn yn epistolau cyntaf Paul, er hoffed yw efe o bwnc, fel mai nid diffyg dyddordeb yn yr athrawiaeth a barodd fod Epistol Iago hebddynt. Mewn ffurf gymharol anelwig yr oedd diwinyddiaeth Paul yn gystal a diwinyddiaeth Iago ar y cyntaf. Yr epistolau tebycaf yn yr ystyr yma i Iago, fel y mae rhyfedda'r modd, ydyw dau

* Edwards' 1 Cor. viii. 1. † 1 Cor. xiii. 4-7.
‡ Gwel Mat. xxiv. 12, Ioan xiii. 35, xv. 13.
‖ Iago iv. 8-10. § Iago v. 10, 11. ** Iago ii. 19.
†† 1 Timotheus i. 15, 2 Tim. ii. 11-13.

lythyr Paul at y Thessaloniaid. Ychydig o'r pynciau sydd wedi eu cyflawn ddadblygu yno: megis iachawdwriaeth yn gwbl o ras, gweddi, dyfodiad yr Arglwydd; a'r rhai hynny sydd i'w cael mewn eglurder ac addfedrwydd yn Epistol Iago.* Gwir y sonia Paul wrth y Thessaloniaid am angeu ac atgyfodiad Crist, ac y gwneir defnydd pwysig ganddo o'r atgyfodiad; ond oddi eithr un awgrym cynil† nid oes yma ddim son am berthynas y pethau hyn â'n hiachawdwriaeth ni. Yma, fel gan Iago, edrychir ar Grist yr Arglwydd fel ein Gwaredwr yn gyffredinol, heb gysylltu agweddau neilltuol ar ei waith âg agweddau neilltuol ar yr iachawdwriaeth sydd ynddo, oddi eithr yn unig rhoddi atgyfodiad y dydd diweddaf i bwyso ar ei atgyfodiad ef. Yn Iago a 1 ac 2 Thessaloniaid mae y rhannau hynny o ddysgeidiaeth y Gwaredwr sy'n son am dano'n rhoddi ei einioes yn bridwerth dros lawer, ac am dywalltiad ei waed ef fel sail maddeuant,‡ nid yn unig heb eu hagor yn llawn, ond braidd na ddywedem ni heb eu cyffwrdd. Buasai hyn ynddo'i hunan yn ddigon gennyf fi i dorri'r ddadl, a phenderfynu mai dyma'r tri chyntaf o'r holl epistolau, ac felly o lyfrau'r Testament Newydd i gyd. Hwy wnant ddosbarth ar eu pennau'u hunain o ran eu nodwedd athrawiaethol. Ym mhob un arall o epistolau Paul, ond yr Epistol at Philemon, y mae perthynas yr iachawdwriaeth fawr, nid â pherson Crist yn unig, ond â'i waith, ger ein bron o hyd; a llythyr ar fater personol oedd yr un at Philemon. Yr un ffunud, os cyferbynnwn ni'r epistolau cynaraf yma â'r Datguddiad, ac Epistolau Ioan a Phedr, yn enwedig â 1 Pedr a'r Llythyr at yr Hebreaid, y mae'r gwahaniaeth arddull ym mhob cyffyrddiad âg athrawiaethau'r efengyl mor amlwg fel nad oes eisieu galw sylw ato; ac nid yw fod o dan y gwahaniaeth yma gyffelybrwydd mawr hefyd, ond yn gwneud y gwrthgyferbyniad sydd ar y wyneb yn amlycach fyth. Y cyferbyniad rhwng yr eginyn a'r dywysen yw. Ni a glywn yn yr holl epistolau, ond y tri hynaf, swn athraw yn trin pynciau yr oedd eu henwau, beth bynnag, erbyn hyn, yn o gynefin i'w ddarllenwyr.

Fe allai fod un engraifft o'r cyferbyniad hwn, cyn belled ag y mae a wnelo Epistol Iago âg ef, yn ddigon hynod i'w chrybwyll ar wahan, Epistol Judas. Yr oedd pob peth, gallesid meddwl, yn debyg o wneud llythyrau Iago a Judas yr un fath â'u gilydd, ond yn unig eu nheges wahanol. Dau frawd oedd y ddau awdwr. At Iuddewon, fel y bernir, yr ysgrifenai Judas yn gystal a Iago. Nid yw Judas yn ail i'w frawd yn ei hoffder o'r Hen Destament a'r llyfrau Apocryphaidd. Ymarferol ydyw tôn ei lythyr, fel eiddo'i frawd. Fe ddywed yn wir iddo fwriadu ysgrifennu am yr iachawdwriaeth gyffredinol, ond darfod i amgylchiadau'i ddarllenwyr ar y pryd ei droi oddi wrth ei fwriad, er mwyn danfon gair atynt ar fater, neu faterion neilltuol, nad oedd wiw eu hoedi.|| Ychydig o athrawiaeth, ychydig iawn, sydd yn ei lythyr. Eto, er hyn i gyd, y mae yr ychydig sydd, yn dwyn nodau amlwg treigliad amser. Y mae ffrydiau'r datguddiad dwyfol wedi gwisgo rhigolau iddynt eu hunain. Fe syrth y meddyliau megis o honynt eu hunain i ffurf bendant sy'n tybied cryn gynefindra â'r addysg apostolaidd. Cawn beth sy'n gyffredin, dyweder, yn yr Epistol at yr Ephesiaid,§ saernio brawddegau ar ddelw athrawiaeth y

* Cymh. 1 Thes. i. 4, v. 9, a Iago i. 18. 1 Thes. i. 2-3, v. 17, 25, 2 Thes. iii. 1, a Iago i. 5-8, iv. 1-10, v. 12-20. 1 Thes. v. 1-10, 2 Thes. i. 4-10, a Iago v. 8-9.
† 1 Thes. v. 10. ‡ Mat. xx. 28, xxvi. 28. || Judas 3-4.
§ Eph. i. 3-14, iv. 4-6.

Drindod. 'Chwychwi, anwylyd, gan eich adeiladu eich hunain ar eich sancteiddiaf ffydd, a gweddïo yn yr Ysbryd Glân, ymgedwch yng nghariad Duw, gan ddisgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol.'* Yr ydym mewn byd gwahanol iawn erbyn hyn i'r un y mae Epistol Iago'n ei dybied; a pha gyfrif gwell sydd i'w roddi am y gwahaniaeth, na bod ugain mlynedd neu ragor o wahaniaeth yn oed y ddau lythyr? Gan Iago fe olyga ffydd ymddiried, bid siwr, ond heb lwyr golli ystyr yr Hen Destament i'r gair. 'Ffyddlondeb' felly, fel y daw yr ameu sy'n groes i ffydd i gynnwys rhyw ias o'r ystyr o 'betruso.' Yn Epistol Judas wedyn y mae 'ffydd' wedi magu ystyr rhywbeth tebyg i'r ystyr ddiwinyddol sydd iddi yn ysgrifeniadau'r tadau eglwysig, ffydd yn yr ystyr o gredo, ystyr y mae Iago yn ymwrthod â hi yn ddi-os.

Ond heb i ni liosogi engreifftiau, y mae pob peth yn arddull ddiwinyddol Iago yn gadael argraff ar y meddwl fod yr efengyl yn beth lled newydd iddo ef, a newyddach fyth i'w ddarllenwyr. Ymddengys fod Bassett,† er mwyn profi mai Iago fab Zebedeus a ysgrifennodd y llythyr, wedi casglu amryw engreifftiau ynddo o gyffelybrwydd i bregethu Ioan. Ni phrofai hynny mo'r pwnc chwaith; oblegid y peth tebycaf yw, fod y tri Iago, fel eu gilydd, wedi gwrando Ioan, er fe allai mai mab Zebedeus yn unig a fu'n ddisgybl iddo. Ond heb fynd y ffordd yna, y mae eglurhad nes atom ar debygrwydd rhyw bethau yn Iago i Ioan Fedyddiwr. Yr oedd lle gweinidogaeth pob un o'r ddau, fel dolennau rhwng y ddau gyfamod, yn dra chyffelyb. Yr hyn ydoedd Ioan Fedyddiwr ym mysg pregethwyr, dyna ydyw Epistol Iago ym mhlith llyfrau'r Beibl.

Cydnebydd Pfleiderer mai llyfr cymharol amddifad o athrawiaeth ffurfiol ydyw hwn; ond eglurhad gwahanol a ddyry efe ar hynny. Myn efe fod yr athrawiaethol wedi cilio erbyn hyn, a myned yn ail beth ym mhrofiad y saint o'i gyferbynnu â'r ymarferol; eithr ni a welsom yn y bennod o'r blaen fod modd troi golygiad Pfleiderer am gyffelybrwydd Epistol Iago i 'Fugail Hermas,' yn erbyn Pfleiderer ei hun, gan fod pob lle i gasglu mai tebycach yw fod Hermas yn dilyn Iago, na bod Iago'n dilyn Hermas. Yr un ffunud y mae'r golygiad hwn o eiddo Pfleiderer yn un y gellir gwneud defnydd o hono i brofi cynarwch, ac nid diweddarwch, yr epistol.

Y mae'r dyb fod yr epistol yn un cynnar, felly, yn gorwedd yn dra esmwyth ar bobpeth sydd yn yr epistol ei hun, ac yn help i ddeall rhai pethau yn ei gylch a fuasai'n bur dywyll ar unrhyw dyb wahanol. Ni a'i gosodwn ef yn lled hyderus yn rhywle o flaen y flwyddyn 50. Pa bryd yn union sydd gwestiwn anaws ei ateb.

Beth yw'r adeg gynaraf y gallesid ei ysgrifennu? Gwel rhai beirniaid le i ddodi terfyn lled bendant tu ag amser yr erlid cyntaf y gallai fod Iuddewon y wasgarfa wedi teimlo oddi wrtho, sef y blinder a godasai yng nghylch Stephan, o.c. 40 neu 41.

Ystyria'r rhai sy'n meddwl felly mai erledigaeth grefyddol oedd 'profedigaethau' Iago i. 2, a 'gorthrymder' Iago ii. 6; ond gan na dderbynir mo'r golygiad yn yr esboniad bychan hwn, nis gallwn seilio unrhyw ddadl arno yma chwaith.

* Judas 20-21. † Gwel Plumptre ar Iago, tud. 7.

Cawn eraill yn pwyso tipyn ar y cyfeiriad tybiedig at yr enw 'Cristionogion' yn ii. 7. Ond yr ydym wedi methu derbyn hynny hefyd.

Y mae mwy, dybiwn i, i'w ddweud dros awgrym Plumptre—y craffaf ar bwnc fel hyn o'r awduron Saesneg i gyd—mai ar ol merthyrdod Iago brawd Ioan, yn 44,* y daeth Iago brawd yr Arglwydd i amlygrwydd mawr fel arweinydd yr eglwys yn Jerusalem, ac iddo ysgrifennu ei lythyr wrth deimlo'r cyfrifoldeb newydd a ddisgynasai arno i arfer ei ddylanwad er daioni ar eglwysi'r enwaediad. Y mae'r dyfaliad yna, wrth reswm, yn cymeryd yn ganiataol beth yr ydym ni eto heb ei brofi, mai Iago brawd yr Arglwydd yw awdwr yr epistol; ond y mae mwy o rym ynddo nag mewn dim arall a welais i at nodi adeg ei ysgrifeniad.

Dyma'r hyn y down ni iddo ynte. Y tebyg yw, nad yw'r epistol yn gynarach na 44; a chawsom le cryf iawn i feddwl nad yw'n ddiweddarach na'r flwyddyn 50.

* Actau xii. 2 a 17.

## PENNOD III.

### IAGO.

WRTH gofio mai Jacob, neu Iago, oedd enw tad y genedl Iuddewig, nid yw'n syn o gwbl fod tri o ddisgyblion Crist yn Llyfr yr Actau yn dwyn yr enw: Iago brawd Ioan, Iago fab Alpheus, a Iago heb unrhyw ddisgrifiad pellach o hono yn y llyfr ei hun. Y mae hynny'n awgrym o bosibl ei fod ef y mwyaf amlwg ac adnabyddus o'r tri; ac nid oes le i amheuaeth nad yw efe yr un un a Iago brawd yr Arglwydd, yr hwn y sonir am dano yn yr Epistol at y Galatiaid.*

Fe fyn rhai ystyried hwn yr un un a Iago fab Alpheus, sef Iago Fychan. Y cyfieithiad Cymraeg yn ddiameu sydd yn ei le. 'Iago fychan,' ac nid 'Iago leiaf,' fel y Saesneg. Yr achos o'i alw felly oedd, nid ei fod yn ieuangaf o'r ddau Iago oedd ym mysg y deuddeg, mwy nag am ei fod yn llai enwog, ond yn syml am ei fod yn fychan o gorffolaeth. Felly'n ddiau y cododd y cyfenw 'Fychan' yng Nghymru. Rhyw un o hynafiaid y teuluoedd sy'n gwisgo'r enw ddigwyddodd fod yn llai na'r cyffredin o daldra; a phe buasai Iago fab Alpheus yn Gymro, ac wedi ei eni mewn oes yr oedd y ddefod o Saesnigo enwau Cymraeg wedi dechreu, 'James Vaughan' fuasai ei enw yntau. Y mae Calfin, a Manton, a Bengel, a Geiriadur Charles, a llawer heb law hynny, yn cyfrif hwn a Iago brawd yr Arglwydd yr un un. Y mae'r golygiad yn tybied amryw bethau nad oes dim prawf fod yr un o honynt yn wir.

Rhaid i ni, yn un peth, gydolygu â Jerome yn ei dyb mai cefnder oedd ystyr y gair 'brawd' wrth ei arfer am frodyr yr Iesu, ystyr na cheir mo honi i'r gair yn unlle arall fe ddywedir. I ategu hyn pwysir ar Ioan xix. 25, lle y dywedir—'Ac yr oedd yn sefyll wrth groes yr Iesu, ei fam ef, a chwaer ei fam ef, Mair gwraig Cleophas, a Mair Magdalen.' Dadleuir mai ychwanegiad ydyw'r geiriau 'Mair gwraig Cleophas,' i ddweud pwy oedd chwaer ei fam ef, ac felly mai tair, ac nid pedair, o wragedd y mae'r adnod yn eu henwi, y tair o'r un enw, er fod dwy o honynt yn ddwy chwaer. Yn Marc xv. 40, crybwyllir ym mysg y gwragedd a safent o hirbell, Mair Magdalen, a Mair mam Iago fychan, a Salome. Yn awr fe dybir yn lled gryf mai ffurf arall ar yr enw Cleophas ydyw Alpheus, ac felly mai yr un yw Mair mam Iago fychan a Jose yn Marc, a Mair gwraig Cleophas yn Ioan; ond pa faint nes ydym ni i brofi'r pwnc, os na ellir dangos hefyd ei bod hi'r un un a chwaer mam yr Iesu? Ffordd arall gan rai i ddyfod o'r anhawster ydyw cydnabod mai pedair gwraig a enwir yn y fan yna gan Ioan, a bod 'chwaer ei fam ef' a 'Mair gwraig Cleophas' yn ddwy wahanol, ond dywedyd y gallai fod Mair gwraig Cleophas, neu Alpheus, yn chwaer i Joseph, a darfod i Joseph, priod Mair, fagu plant ei chwaer. Yn ol y dyfaliad diweddaf yma, Salome, mam meibion Zebedeus,

* Gwel Proff. Hugh Williams ar Gal. i. 19.

a gyfatebai i'r disgrifiad 'Chwaer ei fam ef,' fel y byddai'r Iago arall hefyd, Iago brawd Ioan, yn gefnder i'r Iesu. Fe all hynny fod; ond nid yw yn perthyn dim llawer i'r mater sy dan sylw yn awr. Yr hyn sy'n rhoi peth cysgod i'r syniad yw, fod gan Alpheus a Mair ddau fab yr un enwau a dau o frodyr Iesu Grist, Iago a Jose, neu Joses. Dadleuir oddi wrth hyn nad brodyr mewn gwirionedd, ond brodyr maeth i'r Iesu, neu gefndryd o bosibl, oedd y rhai a elwid yn frodyr yr Arglwydd. Meibion oeddynt, meddir, naill ai i chwaer Joseph, neu ynte i chwaer Mair mam yr Iesu. Ond pa bwys sydd i'w roddi ar fod Iago a Joses neu Joseph ym mhob un o'r ddau deulu at brofi mai yr un teulu a olygir, a chofio fod yr enwau hyn yn rhai mor gyffredin?

Ond dywedir ym mhellach fod brawd arall i Iago yr un enw ag un o frodyr yr Arglwydd; Judas ydyw hwnnw. Yr oedd gan ryw Iago'n ddiau frawd â'i enw'n Judas. Y Judas hwnnw a ysgrifennodd yr epistol sy'n dwyn yr enw; ond ai un o'r deuddeg oedd yr Iago yr oedd Judas yn frawd iddo sydd bwnc arall. Y dyb mai Iago Fychan a Judas yr Apostol a ysgrifennodd y ddau lythyr sydd dan yr enwau hyn a ystumiodd y cyfieithiad Cymraeg a Saesneg yn nhaflenni enwau'r apostolion; lle y cawn ni 'Judas brawd Iago,' yn lle 'Judas fab Iago.'* 'Judas Iago' ydyw'r gair; ond yn ol arfer gyson yr iaith 'Judas fab Iago' yw ystyr hynny, fel y cytunir gan y beirniaid diweddar braidd i gyd.

Unwaith eto, gwneir cryn ddefnydd o Gal. i. 19, i brofi fod Iago brawd yr Arglwydd yn un o'r deuddeg. 'Eithr neb arall o'r apostolion nis gwelais, ond Iago brawd yr Arglwydd.' Pe gellid casglu'n deg fod yr Iago hwn yn un o'r deuddeg, rhaid fyddai ei gyfrif yr un un a Iago Fychan; ond nis gellir. A chaniatau fod Paul yn y fan yna'n bwriadu ei alw ef yn apostol, ni fyddai hynny ddim yn ddigon; canys gelwir Barnabas a Saul yn apostolion,† er nad oedd Barnabas yn apostol o gwbl yn ystyr gyffredin y gair. Ond y mae'n gwestiwn oedd Paul yn meddwl galw Iago'n apostol. Mater o ddadl rhwng yr esbonwyr yw pa fodd y dylid deall y gair. Rhydd y Cyfieithiad Saesneg Diwygiedig, yng nghorff y llyfr gyfieithiad yr un fath a'r Cymraeg a Saesneg cyffredin, ond ar ymyl y ddalen un gwahanol: 'Eithr neb arall o'r apostolion nis gwelais, ond yn unig Iago brawd yr Arglwydd,' gan olygu na welsai efe'r un arall o'r apostolion, ond ei fod wedi gweled Iago. Y mae Lightfoot a Williams yn erbyn cyfieithiad ymyl y ddalen, er nad ydynt hwythau yn dal fod y cyfieithiad cyffredin yn ein rhwymo ni i'r dybiaeth fod Iago'n un o'r deuddeg. Yr un ffunud, ni fyddai i ni ddeall wrth 1 Cor. xv. 7, 'Wedi hynny y gwelwyd ef gan Iago, yna gan yr holl apostolion' yn gwneud Iago yn un o honynt, ddim yn sail digonol i feddwl ei fod yn perthyn i gylch y deuddeg. Ni a wyddom yn wir nad oedd efe ddim pan oedd yr Arglwydd Iesu Grist gyd â hwynt yn y cnawd, beth bynnag, 'Nid oedd ei frodyr yn credu ynddo,' meddai'r gair, a hynny yn lled agos i ddiwedd ei yrfa.‡ A chan nad oedd brawd yr Arglwydd yn un o'r deuddeg, rhaid mai nid dull arall o'i enwi ef ydyw 'Iago mab Alpheus,' ac mai tri Iago, ac nid dau, sydd gennym.

O'r tri Iago, ynte, y cawn eu hanes yn y Testament Newydd, dau yn unig, hyd y gwn i, sydd i'w hystyried yn y cwestiwn am awdwr yr epistol

* Luc vi. 15, Actau i. 13. † Actau xiv. 14. ‡ Ioan vii. 5.

hwn. Nis gwn i neb erioed dybied mai Iago Fychan oedd yr awdwr, ond y rhai a gredant mai yr un un ydyw efe a Iago brawd yr Arglwydd. Rhyngddo ef, felly, a Iago fab Zebedeus y mae'r dewis.

Ychydig, y mae'n ymddangos, sydd i'w ddweud dros y gred a fu'n lled gyffredin mewn rhai cylchoedd, mai mab Zebedeus a ysgrifennodd y llythyr. Nid yw fod ein Beiblau ni, yn Gymraeg ac yn Saesneg, yn galw'r awdwr yn apostol yn y teitl, yn profi dim ond fod llawer o gyfysgrifwyr rywbryd wedi meddwl felly. Nid yw'r Cyfieithiad Diwygiedig yn rhoi dim ond 'Epistol Cyffredinol Iago.' Dywedir fod o blaid y teitl cyffredin, 'Epistol Cyffredinol Iago yr Apostol,' ysgrifau pur hen o'r Peshito, rhai a gopïwyd rywle o'r bumed i'r wythfed ganrif o oed Crist. Y mae copïau argraffedig o'r Peshito'n dweud rhagor, fod Epistol Iago, ac Epistolau Pedr, ac Epistol Cyntaf Ioan, yn waith y tri a fu gyd â'r Iesu ar fynydd y gweddnewidiad; ond ni wyddys pa le y cafwyd y sylw, ac nid oes sicrwydd fod unrhyw lawysgrif hen yn sail iddo.* Dywed Thomas Manton,† fod Neirembergius, Jesuit o'r Hispaen, yn priodoli'r llythyr i fab Zebedeus, yn erbyn Cyngor Trent, ac yn dwyn rhesymau dros gredu mai dyma'r cynaraf o holl lyfrau'r Testament Newydd. Yr oedd Neirembergius felly wedi dyfod i'r un feddwl a llawer o feirniaid yr oes hon am amser ysgrfennu'r llythyr. Ond ychwanega Manton, mai er mwyn rhoi'r blaen ym mysg yr ysgrifenwyr sanctaidd i Iago Fwyaf, prif sant yr Hispaen, y gwnai Neirembergius hynny. Y mae rhai o'r esbonwyr yn derbyn y golygiad, Bassett yw ei brif ddiffynydd yn yr oes yma, ond y mae Geiriadur Charles yn ei wrthod, gan briodoli'r epistol i Iago brawd yr Arglwydd, ond ei fod yn ystyried hwnnw yr un un a Iago Fychan, felly James Hughes. Y mae rhesymau Bassett dros roi Iago fab Zebedeus yn awdwr yr epistol yn fwy cywrain nag ydynt o gedyrn, yn enwedig i feddwl pwyso arnynt yn erbyn traddodiad cytûn yr eglwys yn yr oesoedd cyntaf. Fel y gwelsom yn y bennod gyntaf o'r sylwadau hyn, fe ddichon mai meddwl nad oedd yr Iago yma'n apostol a barodd, yn un peth, i le'r llythyr yn y Canon gael ei ameu.

Y mae pob peth hyd y gall dyn weled yn taro o blaid y syniad a dderbynnir erbyn hyn yn dra chyffredin, mai Iago brawd yr Arglwydd oedd yr awdwr. Dyna fuasai darllenwyr yr epistol yn ei gasglu yn ddi-os. Hwn oedd yr Iago amlycaf yn yr eglwys beth bynnag, ar ol marw Iago brawd Ioan.‡ Y mae'n gyfartal ei bwysigrwydd a'i ddylanwad a phe buasai yn un o'r deuddeg. Gofynnodd Pedr i'w gyfeillion yn nhŷ Mair mam Ioan yr hwn oedd â'i gyfenw Marc, fynegi am y waredigaeth ryfedd i Iago ac i'r brodyr.‖ Iago oedd yr unig un digon amlwg i'w enwi ar wahân. Y mae yn gydradd â Phedr, os nad ar y blaen iddo, yn y Cyngor y cawn hanes am dano yn Actau xv. Efe sy'n cynghori Paul yn Actau xxi., ac y mae Paul yn cymeryd y cynghor yn frawdol a boneddigaidd, ac yn gweithredu arno.§ Yr un lle a roddir iddo yn epistolau Paul drachefn. Cafodd efe, fel Paul ei hun, weled yr Arglwydd wedi ei atgyfodiad.** Yn yr Epistol at y Galatiaid hefyd, fel y gwelsom, cydnabyddir ef gan Paul fel un o golofnau'r eglwys; a bron na ellid meddwl wrth rai pethau a ddywedir yno fod rhai a ddaethent oddi wrth Iago, ac a arferent ei enw,

* Plumptre ar Iago, tud. 6.
† Manton ar Iago. Rhagymadrodd, tud. 15.
‡ Actau xii. 2. ‖ Actau xii. 17.
§ Actau xxi. 18-26. ** 1 Cor. xv. 7.

y mae'n debyg, yn gysgod i'w rhagfarnau culion eu hunain, wedi medru gosod eu hofn am ennyd ar Simon Pedr a Barnabas.

A hyn oll y cytuna'r hyn a wyddys am Iago, trwy hanes a thraddodiad, y tu allan i'r Testament Newydd. Yr oedd Iago'n ddigon parchus gan yr Iuddewon i Josephus dorri ar ei arfer o fyn'd heibio i hanes Cristnogaeth yn ddistaw. Y mae son am ddisgyblion yr Iesu'n beth eithriadol ganddo, fel y tybia rhai mai darn a rowd i mewn yng ngwaith yr hanesydd Iuddewig gan ryw gopiwr o Gristion ydyw'r darn ar Iago. Pa un bynnag am hynny, y mae'r darn ei hun yn gofnod digon naturiol i fod yn gywir. Dywed Josephus i Annas, Ananus, fel y gelwir ef ganddo ef, weled ei gyfle rhwng ymadawiad Ffestus* a dyfodiad Albinus y rhaglaw newydd, a galw'r Cyngor yn afreolus heb gennad y rhaglaw. Archoffeiriad oedd yr Annas hwn, a mab i'r un y mae son am dano yn yr Efengylau. Yn y Cyngor hwnnw, trwy ddylanwad y Saduceaid yn bennaf, dygwyd ger bron Iago, brawd yr Iesu, yr hwn a elwir Crist; a chondemniwyd hwy i'w llabyddio wedi eu cyhuddo ar gam o dorri'r gyfraith. Cwynodd rhai o wŷr teca'r ddinas; a bwriwyd Annas o'i swydd gan Agrippa.†

Y mae cofnodiad Hegesippus, hanesydd tipyn diweddarach na chanol yr ail ganrif, yn cynnwys mwy o bethau sy'n dwf traddodiad neu yn waith dychymyg. Trwy ddyfyniad yng ngwaith Eusebius y daeth yr hanes yma gan Hegesippus i lawr i ni; ac y mae pob esboniwr braidd yn ei goffâu. Yn fyr dyma fo. 'Iago brawd yr Arglwydd a dderbyniodd yr Eglwys gan yr apostolion. Gelwid ef y cyfiawn. Nazaread oedd, ac ni fwytâi gig. Ymwrthodai â phob moethau; nid ymirai âg olew; ac nid ymdrochai. Efe yn unig fyddai'n cael myned i'r cysegr; canys llian oedd ei wisg yn lle gwlan. Mynychai'r cysegr ar ei ben ei hun; ac wrth weddïo, a deisyf maddeuant am bechodau'r bobl, aeth pennau ei liniau yn galedion fel gliniau camel. Cyfiawn y gelwid ef, ac "Oblias," hynny yw, yn y Groeg, ebai Hegesippus, "Rhagfur y bobl." Arferai rhywrai o'r saith sect ofyn iddo, "Dywed i ni pwy yw drws yr Iesu." A'i ateb yntau fyddai, mai hwn oedd yr Iachawdwr. Fe gredodd rhai trwy ei dystiolaeth; ond am y sectau hyn, ni chredent yn yr atgyfodiad, nac yn yr hwn sydd yn dyfod i roddi i bob un yn ol ei weithred. A phan gredodd llawer o'r penaethiaid, bu terfysg ym mysg yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid; a deisyf a wnaethant ar Iago atal y bobl, gan fod perygl iddynt gyfeiliorni ar ol yr Iesu, fel pe efe fyddai'r Crist. Yna wedi ei osod ef ar binacl y deml, er mwyn i'r lliaws a ddaethai i Wyl y Pasg ei glywed, galwasant arno â llef uchel, gan ddywedyd, "Tydi y Cyfiawn, gŵr yr ydym yn rhwym i gyd o wrandaw arno, gan fyned o'r bobl oll ar gyfeiliorn ar ol yr Iesu yr hwn a groeshoeliwyd, mynega i ni beth yw drws yr Iesu." Atebodd yntau a llef uchel, "Paham y gofynnwch i mi am yr Iesu, Mab y dyn? Fe eisteddodd yn y nef ar ddeheulaw y gallu mawr; ac y mae ar ddyfod ar gymylau'r nef." A phan oedd llawer wedi eu hargyhoeddi, yn gogoneddu Duw am dystiolaeth Iago, ac yn dywedyd, "Hosanna i Fab Dafydd," dywedodd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid hynny, "Drwg y gwnaethom roi cyfle i'r fath dystiolaeth o blaid yr Iesu." Yna gwaeddasant, "Ho, ho, y mae hyd yn oed y Cyfiawn wedi myn'd ar gyfeiliorn." Bwriasant ef i lawr; a phan welwyd nad oedd y codwm wedi ei ladd, dechreuwyd ei labyddio. Trodd yntau ar ei ddeulin, a dywedodd un o feibion Rechab, "Aroswch:

* Y Ffestus hwnnw a ddaeth i mewn yn lle Ffelix, Actau xxiv. 27.
† 'Hynafiaethau' Llyfr xx ix. 1.

y mae'r Cyfiawn yn gweddïo drosoch chwi." Yna y cymerth rhyw bannwr ei ordd, ac a'i tarawodd ef ar ei ben; ac felly y dug efe ei dystiolaeth.'

Lle y gwnes rywbeth amgen na chrynhoi prif linellau yr hanesyn hwn brasgyfieithu a wnaethum oddi wrth ddyfyniad Saesneg Plumptre,* yr hwn sy'n nodedig o gyflawn a dyddorol, yn enwedig ar y rhan yma o faes ei raglith.

Dadleua Plumptre dros gywirdeb cyffredinol yr atgofion hyn, er addef fod elfen o chwedl ynddynt; eraill a fynnant mai chwedl ydyw'r darn bron i gyd. Hwyrach fod hon yn un o'r ystorïau hynny y dywedir am danynt eu bod yn wir, pa un bynnag ai gwir ai peidio; hynny yw, y mae hi'n bortread cywir o'r caritor, yn ystori y gellid ei chredu am dano, pa un bynnag a ddigwyddodd y pethau a adroddir ynddi ai naddo. Peth digon tebyg yw fod Iago'n Nazaread, a bod ol Ioan Fedyddiwr ar ei fuchedd, fel y gwelsom y dywedir fod ar ei ddysgeidiaeth. Gwyddom oddi wrth ei lythyr ei fod yn elyn anghymodlawn i fywyd moethus, fel gwreiddyn llawer o ddrygau plant dynion. Y mae gwaith y blaid Iuddewig yn yr eglwys, yn ei amser ef ei hun ac ar ol ei ymadawiad, yn arfer ei enw ac yn apelio at ei awdurdod, er nad oedd hynny o gwbl wrth ei fodd ef, yn profi er hynny mor uchel y safai Iago brawd yr Arglwydd yng nghyfrif ei gydgenedl, y tu fewn a'r tu allan i eglwys Iesu Grist. Pa un bynnag ai gwir ai nad ê, y cai efe fel Nazaread fyn'd i mewn i'r cysegr yr un fath a'r offeiriaid, y mae fod traddodiad felly am dano yn profi ei fod yn gymeradwy gan Iuddewon yn gystal a Christnogion. Y peth sy'n siwr braidd o fod yn cyfateb i draddodiad cywir, pa faint bynnag o ystumio a fu arno, ydyw'r ymofyniad yng nghylch 'Drws yr Iesu,' gan fod yn ddigon posibl na ddeallai Hegesippus ei hun mo'r cwestiwn wrth ei ddodi i lawr. Pe newidiasai efe rywbeth ar y traddodiad, newid i beth haws ei ddeall y buasai, y mae bron yn sicr. Tybed ein bod ninnau'n deall y gair wrth ei ddarllen? Cais Plumptre i'w egluro yw'r goreu a welais i. Amlwg yw, mai cwestiwn oedd hwn o'r un gynneddf a'r cwestiynau a ofynnid i'r Arglwydd Iesu i'w rwydo yn ei ymadrodd. Gair ydoedd a gipiasai rhywun o enau Iago, heb ei iawn ddirnad; ac wedi newid digon ar ei ffurf, wrth ei droi a'i drosi, i'w wneuthur yn ymadrodd hollol ddi-synwyr, hwy a'u taflent at Iago mewn gwawd, dan esgus gofyn am eglurhad. Ni a wyddom mai gwyrdroi geiriau ein Harglwydd a wnaeth y gau dystion y condemniwyd ef ar eu tystiolaeth, nes gwneud ynfydrwydd digymysg o'i ddywediad ef. 'Ni a'i clywsom ef yn dywedyd, Mi a ddinystriaf y deml hon o waith dwylaw, ac mewn tridiau yr adeiladaf arall heb fod o waith llaw.'† A pha ryfedd iddynt gymysgu ac ystumio ymadroddion ei frawd ef yr un modd? Y gair a gipiasai'r Saduceaid hyn, yn ol Plumptre, yw hwnnw, 'Y mae y Barnwr yn sefyll wrth y drws.' Deallent fod Iago'n son llawer am ryw ddrws wrth bregethu Crist; a gofynasant mewn gwawd, heb geisio gwneud synwyr o'r atgof oedd ganddynt ar gip am ei eiriau, 'Beth yw drws yr Iesu?'

Ychydig y mae'r traddodiadau eraill yn ei chwanegu at ein gwybodaeth am Iago; ond y maent hwythau yn eu ffordd yn dwyn tystiolaeth i'w alluoedd, a'i dduwioldeb, a'i ddylanwad; canys fel y sylwa Plumptre, o gwmpas dyn mawr, nid o gwmpas un bychan, y tyf cylch o lenyddiaeth

* Tud. 25-31. † Marc xiv. 57-58.

chwedlonol. Ac ar Iago brawd yr Arglwydd y disgyn yr holl chwedlau hyn, fel testyn yr hyn a adroddant. Nid oedd dim i hudo'r traddodiadau i ymgyplysu â'i enw ef oddi eithr bod ynddynt ryw elfen o wir. Nid oedd efe'n un o'r deuddeg; ac eto y mae'n enwocach mewn traddodiad na neb o'r apostolion, ond Paul a Phedr ac Ioan. Yr eglurhad naturiol yw, ddarfod iddo, fel y dywed Hegesippus, dderbyn gofal yr eglwys yn Jerusalem, os nad gan yr apostolion, yn nyddiau'r apostolion bid a fynno. Er siampl, cyflwyna'r Clement Ffug ei epistol i'w arglwydd Iago, esgob esgobion, sydd yn llywodraethu Jerusalem, eglwys sanctaidd yr Hebreaid.

Ni rydd neb, erbyn hyn, mo'r ystyr Gatholig, ystyr yr ail ganrif, i'r teitl o esgob. Cyfystyr a 'henuriad' oedd y gair 'esgob' yn oes yr apostolion. Ac fe allai y gellir chwanegu sylw Deems am esgobaeth Iago, mai swydd o ddylanwad, yn hytrach na swydd o awdurdod ffurfiol, ydoedd hi.

Byddai llythyr at yr Israeliaid ar wasgar yn union y peth a ddisgwyliasem ni oddi wrth esgob y fam eglwys yn Jerusalem; a chydwedd â chymeriad Iago, fel un a gair da iddo y tu allan i gylch y disgyblion, ydyw y cyfeiriadau hynny yn y llythyr sy'n cynnwys yr Iuddewon digred, yn enwedig v. 1-6. Y mae tôn athrawiaethol y llythyr hefyd yn gweddu'n dda iawn i un o brif ddysgawdwyr yr enwaediad; a hawdd y gallwn ni ddeall fod ei ddysgeidiaeth yn un y medrai dynion dyfeisddrwg ei gwyrdroi i ddibenion plaid, fel yr oedd dysgeidiaeth Paul yn un y cymerai rhai fantais arni i droi gras ein Duw ni i drythyllwch.*

Heb law hynny y mae ysbryd boneddigaidd, rhesymgar yr epistol, yn hynod o debyg i'r hyn a ddywed Iago wrth Paul yn Actau xxi., ac yn bendifaddeu i araith Iago yn y Cyngor, Actau xv., ac i'r cylchlythyr a ysgrifennwyd o dan ei gyfarwyddyd ef, os nad â'i law ef ei hun. Iago Ddoeth oedd un o'i deitlau traddodiadol ef; ac y mae cymesuredd mewn barn ac athrawiaeth yn un o'r pethau amlycaf yn y llythyr. Wedi codi profedigaethau o dir damwain, a'u dangos yn rhan o gynllun Duw, fe brysura'i warchod rhag y camsyniad andwyol o wneud Duw yn achos o honynt fel y maent yn demtasiynau i bechu. Wrth ddweud 'Esgud i wrandaw, diog i lefaru,' fe dry o'i ffordd i ddweud, 'Byddwch wneuthurwyr y gair, ac nid gwrandawyr yn unig.' Ni fyn gynghori ar un o'i hoff lwybrau, yn erbyn y pechod o dderbynwyneb trwy ffafrio'r fodrwy aur, heb ddweud o'r ochr arall, y dylai'r uchelradd yn gystal a'r tlawd gael llawn ystyr y gyfraith frenhinol, 'Câr dy gymydog fel ti dy hun.' Wrth draethu ar weddi mewn adfyd, y mae'n troi am foment o'r neilltu i ychwanegu, 'A oes neb yn esmwyth arno, caned salmau.' Pan rydd efe bwyslais ar nerth gweddi, gweddi'r ffydd ydyw hi, a gweddi'r cyfiawn. Yr un ysbryd mantoli a hwn, yr un parodrwydd i wrandaw'r ddwy ochr, yr un cyfuniad hapus o ffyddlondeb i egwyddor a hynawsedd wrth ymladd drosti hi, ag a geir yng nghyngorion yr epistol, sydd i'w gweled hefyd yn yr araith a'r cylchlythyr at y rhai o'r Cenhedloedd a droisant at Dduw. Fe gydnebydd hyd yr eithaf fwriad yr Arglwydd i ymweled â'r Cenhedloedd, a chymeryd o honynt bobl iddo'i hun; ac eto fe gofia i'w frodyr, fod 'i Moses ym mhob dinas, er yr hen amseroedd, y rhai a'i pregethant ef, gan fod yn ei ddarllen yn y synagogau bob Sabbath.' Clywch y dôn berswadiol hefyd sydd yng ngeiriau'r llythyr a ddanfonwyd o'r Cyngor. 'Canys gwelwyd yn dda gan

* Cymh. 2 Pedr iii. 16 â Judas 4.

yr Ysbryd Glân a chennym ninnau, na ddodid arnoch faich ychwaneg na'r pethau angenrheidiol hyn, bod i chwi ymgadw oddi wrth yr hyn a aberthwyd i eilunod, a gwaed, ac oddi wrth y peth a dagwyd, ac oddi wrth odineb: oddi wrth yr hyn bethau os ymgedwch, da y gwnewch.' Iago, debyg, sy'n siarad â'r Apostol Paul, dros yr henuriaid, yn Actau xxi. 20-25. Y mae efe yma eto yn cydnabod y gwaith a wnaethid trwy weinidogaeth Paul, ac yn gogoneddu Duw am dano; eithr, gyda'i bwyll arferol, fe ragwel beth fydd canlyniad dyfod Paul i'r ddinas. 'Nid oes fodd na ddel y lliaws yn nghyd; canys hwy a gânt glywed dy ddyfod di. Gwna gan hynny yr hyn a ddywedwn wrthyt . . .: fel y gwypo pawb dy fod di dy hun yn rhodio, ac yn cadw y ddeddf.' Y mae cyffelybrwydd ym mhob gair sydd wedi ei gadw o eiddo Iago brawd yr Arglwydd i Epistol Cyffredinol Iago, yn cadarnhau'r syniad mai'r Iago hwnnw oedd yr awdwr. Y mae cyffelybrwydd yn y dull o feddwl ac ymadroddi'n taraw yr un ffordd.

Y mae cryn dipyn o ddelw arddull Amos ar yr Epistol, yn enwedig ar iv. 1-10 a iv. 13-v. 6; ac un o gŵynion trymaf y proffwyd ydyw cŵyn drymaf Iago hefyd, gorthrymu'r tlawd, a hynny gan rai oedd yn fawr eu hystŵr yng nghylch defodau gwasanaeth Duw.* Y mae'r tebygrwydd yn fwy mewn dawn ac ysbryd a mater nag mewn adnodau neillltuol; fe'i gwelid ar unwaith gan unrhyw un a ddarllenai Amos a Iago drwodd ar un eisteddiad. Ni dybiasem felly ar unwaith fod Amos yn hoff broffwyd gan Iago, pe na wyddem ddim chwaneg am hynny; ond yr ydym yn gwybod; oblegid yn yr unig araith sy gennym o waith Iago, y mae un dyfyniad o'r Hen Destament; ac o Amos y mae hwnnw. Wrth reswm ni wiw pwyso gormod ar gyd-darawiad o'r fath yma; ond fe ŵyr pob pregethwr a phob athraw gymaint a hyn: os caiff dyn ei alw ar fyr rybudd i siarad, fe gais ffurfio'i farn yn wir wrth lewyrch ei brofiad a'i ddarllen, yn lled gyffredinol; ond os bydd arno eisieu dyfynion neu esiamplau i ategu ei farn, fe chwilia am y rheiny o blith y pethau, ac o blith y llyfrau, y gŵyr efe fwyaf am danynt. Llyfr y byddwn ni'n eithriadol o hyddysg ynddo ydyw'r llyfr y daw dyfynion o hono at ein llaw bron ar gynhyrfiad y foment; fel y mae gwaith Iago'n dyfynnu Amos yn dweud rhywbeth am ei gynefindra ef â'r llyfr, ac yn rhoi arwyddocâd newydd i'r tebygrwydd sydd rhwng Epistol Iago a gwaith y proffwyd.

Ni a wyddom fod awdwr Epistol Iago yn hoffach na'r cyffredin o ysgrifenwyr Groeg o frawddegau digyswllt, i. 16, ii. 13, B,† iii. 10, A a B, iv. 10; a chawn engraifft o hynny yn araith fer Iago, 'Hysbys i Dduw yw ei weithredoedd oll erioed.'‡ Gwel Mayor,‖ â llygad ysgolhaig manwl a chyfarwydd, gyd-darawiadau eraill, rhai digon amlwg yn y Groeg wedi unwaith eu gweled, ond anawdd eu dangos yn Gymraeg. Yr un gair sy am 'ymweled' yn Actau xv. 14 ac yn Iago i. 27, hefyd am 'droi' yn xv. 19, ac yn Iago v. 20. Gair Iago i. 1 am 'annerch' sydd yn nechreu'r cylchlythyr, Actau xv. 23; ac nid yw ond mewn un lle arall yn y Testament Newydd, sef yn llythyr Claudius Lysias at Ffelix.§ Yr un ymadrodd sy am 'gadw'r gyfraith' yn xv. 24, ac yn Iago ii. 10; gair Iago am 'anwyl' sydd yn xv. 25; a'r un ymadrodd a geir yn xv. 26 ag sydd yn Iago ii. 1, 'Ein Harglwydd ni Iesu Grist.'

* Gwel Amos iv. 1-5, v. 21-24, vi. 1-6, vi. 11, viii. 4-10.
† Gadael heibio'r 'ac' y mae'r darlleniad goreu.
‡ Actau xv. 18. ‖ Rhaglith. tud. 3-4.
§ Actau xxiii. 26.

Y mae gan Mayor ragor na hyn; ac er bod cyd-darawiadau fel yna yn sylfaen go gul i adeiladu llawer arno, y maent gyd â'u gilydd yn werthfawr fel ategion i beth oedd yn dra thebyg o fod yn wir o'r blaen. Deng air ar hugain a dau gant, medd Mayor, sydd yn yr araith a'r cylchlythyr ynghyd; ac y mae bod amryw eiriau a geirddulliau yr un fath ag Epistol Iago, yn awgrym lled gryf mai yr un Iago sydd gennym yn yr epistol hwn ac yn y Cyngor.

Nid oes yr un wrthddadl o ddim grym yn erbyn y casgliad yma chwaith. Sylwasom eisoes, tud. xv.-xix., ar rai o'r dadleuon a godir yn erbyn ystyried yr epistol yn gynnyrch dilys yr oes apostolaidd o gwbl; a bwrw mai iawn y barnasom, wrth feddwl na ddaliai y rheiny ddim, gallwn eu gadael hwy o'r cyfrif yn y fan yma. A phrin y mae'n werth ymdroi i ail agor dadleuon sy'n gofyn i ni goelio gyda â Von Soden mai Israel ysbrydol a olygir wrth y deuddeg llwyth, neu gyd â Schwegler, mai enw ar yr Iuddewon ydyw'r 'tlodion' y mae y llythyr mor dyner wrthynt, ac nad yw'r 'cyfoethogion' ond enw arall ar y Cenhedloedd.

Y tu allan i'r dosbarth yna o ddadleuon, y rhai sy'n aberthu pobpeth er mwyn gwneud yr epistol yn un diweddar, yr unig anawster o bwys a deimlir ynglyn â derbyn y golygiad cyffredin mai Iago brawd yr Arglwydd yw awdwr y llythyr ydyw, fod Groeg yr epistol yn eithriadol o dda, gyda'r goreu, meddir, yn y Testament Newydd i gyd. Y mae gan eraill o'r ysgrifenwyr sanctaidd arddull fwy dawnus, megis Luc, ac awdwr y llythyr at yr Hebreaid; ond ni fedd yr un o honynt, y mae'n ymddangos, Roeg cyn debyced i Roeg clasurol ag eiddo Iago a Phaul; a chyfrifir mai Iago ydyw y tebycaf i'r awduron safonol yn yr iaith o'r ddau hyn, a hynny yn fwy na dim arall, fe allai, am ei fod yn ysgrifennwr mwy pwyllog na Phaul. Y cwestiwn yw, a allai Iago, wedi ei fagu yn Nazareth, ysgrifennu cystal Groeg. Bernir yn anawdd credu mai cyfieithiad o'r Aramaeg ydyw'r epistol; y mae'r arddull yn anhebyg iawn i hynny; ac os ysgrifennwyd ef gan Iago fel y mae, pa fodd y cysonwn ni hynny â hanes un a dreuliodd ei febyd yn Galilea? Dyma atebiad Mayor;* ac i'm bryd i nid oes eisieu ei well.

Yr oedd diwilliant Groeg yn o uchel yn nghwmpasoedd Galilea beth bynnag oes neu ddwy cyn dyddiau Iago. Gadara, ar Lyn Genesaret, oedd man genedigaeth pedwar o lenorion pur enwog yn eu dydd yn eu gwahanol gylchoedd; Philodemus, athronydd Epicuriaidd, a chyfaill i Cicero'r areithydd; Theodorus, athraw Tiberius Cesar mewn areithyddiaeth; Meleager, ysgrifennwr epigramau, a chasglydd y blodeugerdd Groeg cyntaf; a Menippus, un a berthynai i blaid athronyddol y Cyniciaid, a gŵr digon amlwg yn y byd llenyddol i Varo a Lucian efelychu ei waith. Gallai hyn, ond odid, ein tywys i'r casgliad yma, beth bynnag; 'Nad mwy amhosibl oedd i fachgen gwledig o Galilea ddysgu ysgrifennu Groeg da, nag i fachgen o Gymro ddysgu ysgrifennu Saesneg da, neu i Lydawiad ddysgu ysgrifennu Ffrancaeg da; llawer tebycach, gallem feddwl, nag i *Hindoo* talentog ymgydnabyddu, fel y mae cynifer wedi gwneud, â'r awduron Saesneg goreu, ac ysgrifennu arddull Saesnig dda.'

Po fwyaf edrychom ni ar y pwnc, o wahanol gyfeiriadau, dyfnaf yn y byd, ond odid, fydd y boddlonrwydd a gawn, fod y farn gyffredin am awdwr yr epistol yn ei lle. Hyd y gwyddom ni, un Iago a gymerth ran

* Tud. 41-42.

flaenllaw yn helynt yr oes apostolaidd. Am hwnnw y buasai yr eglwysi a dderbyniodd y llythyr yn meddwl gyntaf wrth ddarllen ei enw. Gwna traddodiad ef yn bennaf o athrawon yr enwaediad, nes priodoli iddo syniadau Iuddewig eithafol, na fu efe, fel y gwyddom ni, erioed yn euog o'u dal. Y mae y llythyr ei hun yn rhy ddi-rodres a diorchest i fod yn ffugwaith gan ŵr yn benthyca enw Iago. Fe ddywedasai un felly, boed Esseniad, boed Ebioniad, fwy o lawer am dano'i hun, er mwyn ennill derbyniad.

Oddi ar draddodiad llafar neu ysgrifen, yn ddiau y llefarai Jerome (340-420), pan ddywedai, 'Un epistol yn unig a ysgrifennodd Iago brawd yr Arglwydd;' ac er ei fod ef ei hun yn caniatau y gallai fod yr epistol yn waith rhywun arall dan enw Iago, ni chyfyd yntau ddim dadl o gwbl ar y cwestiwn pa Iago oedd hwn. Ni feddyliodd ameu nad Iago brawd yr Arglwydd, os Iago oedd efe hefyd. Y mae cymeriad Iago, a hynny a wyddys am ei ddull a'i arddull, yn cyd-daro â hyn. Mewn gair, y mae braidd bob gwybodaeth sydd yn ein cyrraedd ar y pwnc o blaid meddwl mai Iago Llyfr yr Actau ydyw Iago'r Epistol hefyd.

Am gwestiwn arall ynglyn âg Iago nis gallwn ei ateb y naill ffordd na'r llall, yn rhyw hyderus iawn. Mi a'i gadewais ef hyd yn awr, gan dybied na fyddai ei ateb yn derfynol, pe gellid, ddim yn rhyw gymaint a chymaint o help i ddeall y llythyr. Pa berthynas oedd Iago yn ol y cnawd i'r Gwaredwr? Ymofyniad hudol iawn i fyned ar ei ol ydyw hwn; ac i'r neb a glywo ar ei galon fyn'd, y mae digonedd o waith darllen, a darllen difyr dros ben. Gan Mayor ar Iago, a Lightfoot, yn ei esboniad ar yr Epistol at y Galatiaid, y trinir y pwnc gyflawnaf yn Saesneg. Ond gan mai â'r Epistol y mae a fynnom ni yma'n flaenaf dim, rhaid i ni, mewn esboniad bychan o'r maint yma, foddloni i brinhau ar hanes bywyd yr awdwr, er mwyn prysuro ym mlaen at bethau sy'n perthyn yn nes i lygad y testyn.

Y mae son am 'frawd yr Arglwydd' yn Gal. i. 19, ac am 'frodyr yr Arglwydd' yn 1 Cor. ix. 5, ac yn Actau i. 14, heb law'r crybwyllion sydd gennym am danynt yn yr Efengylau, lle y dywedir wrthym hefyd beth oedd eu henwau. 'Onid hwn yw y saer, mab Mair, brawd Iago, a Joses, a Judas, a Simon? ac onid yw ei chwiorydd ef yma yn ein plith ni?'* Y mae tri phrif atebiad i'w cael i'r ymholiad beth yw y berthynas a ddynodir wrth alw'r pedwar yma'n frodyr yr Iesu—(1) mai cefndryd oeddynt iddo, (2) mai meibion Joseph o briodas flaenorol, (3) mai meibion Joseph a Mair.

O ran y Testament Newydd ei hun, y diweddaf yna, golygiad Helvidius, yw'r unig un y buasai dim byd pendant a chryf i'w ddywedyd o'i blaid. Yn wir prin y meddyliasid am ddadleuon yn erbyn hwn, ar dir Ysgrythyr o gwbl, oni bai fod eisieu hynny i ategu rhyw dyb y daethbwyd o hyd iddi mewn rhyw ffynhonnell heb law'r Beibl. Pwy, oni bai hyn, a fuasai yn pwyso llawer ar waith y brodyr yn amlygu gofal am yr Iesu,† a'i gynghori pa fodd i gyrraedd ei ddibenion?‡ fel pe brodyr hŷn nag ef a fuasent hwy? Os nad oedd rhagoriaeth yr Iesu arnynt, er yn fachgen, yn ddigon

* Marc vi. 3. Cymh. hefyd Mat. xiii. 55-56.
† Marc iii. 21. ‡ Ioan vii. 5.

i'w cadw hwy rhag ymyraeth â'i gynlluniau ef, ni wnaethai ychydig flynyddoedd o wahaniaeth oedran rhwng dynion yn eu maint ddim. Heb law hynny, da y gwyddom, y bydd yr enwocaf mewn teulu, boed hynaf boed ieuangaf, o herwydd ei ymröad prysur i gylchoedd cyhoeddus, yn wrthrych cyffredin gofal gan y lleill i gyd mewn pethau amgylchiadol. Mi glywais ddweud y byddai chwaer Neander yn ei hebrwng ef i'w ddarlithiau, rhag iddo, yn ei fyfyrdodau, golli'r ffordd.

Nid oes fawr chwaneg o rym yn yr wrthddadl arall a godir chwaith. Dywedir mai anhebyg yw y buasai yr Iesu'n rhoi gofal ei fam, wrth farw, i'r disgybl anwyl, pe buasai ei frodyr ef yn feibion iddi hi. Yn 1 Cor. ix. 5, awgrymir yn bendant fod brodyr yr Arglwydd yn wŷr priod; ac y mae'n ddigon posibl—priodi'n ieuainc y byddai'r Iuddewon—eu bod wedi priodi i gyd pan gyflwynwyd Mair i ofal Ioan. Tybia rhai yn gryf fod Ioan yn nai fab chwaer i Mair y Forwyn. Os oedd efe'n ddi-briod ar y pryd, a'i mheibion hi wedi sefydlu teuluoedd eu hunain, beth a fuasai'n ddoethach, ïe, beth fuasai'n garedicach, nid â Mair yn unig, ond â hwythau hefyd, na rhoi ei gofal hi i'r disgybl? Ni a wyddom na pharodd hyn unrhyw dramgwydd na rhwyg rhwng Mair a'r pedwar brawd, a'r tebyg yw eu bod hwy yn gweled rhesymoldeb y trefniant, lle y buasent, o bosibl, yn grwgnach yn erbyn y tro fel diffyg hyder ynddynt hwy, pe buasent yn rhywbeth ond meibion i Mair, a brodyr o ddifrif i Iesu Grist. Yn lle hynny, ni a'i cawn hwy ar ol hyn gyd â Mair ei fam ef fel o'r blaen.

Beth a ddywedai y rhai a ddefnyddiant yr wrthddadl ddiweddaf yna pe troid honno fel arall? Gyd â brodyr yr Iesu y mae Mair ar hyd tymor ei weinidogaeth ef. Gwir fod yr Iesu yno hefyd yn aml i ofalu am ei fam; ond y mae efe yn aml oddi cartref am wythnosau os nad misoedd; ac y mae ei fam, yn ol pob golwg, gyd â'i frodyr ef bron o hyd, anfynych y gwelir hwy yn yr hanes ar wahan.* Hefyd y mae iaith blaen yr efengylau'n awgrymu, heb fynegi'n bendant, fod gan Mair blant heb law yr Arglwydd Iesu. Rhaid cofio eu bod hwy wedi eu hysgrifennu flynyddoedd ar ol y digwyddiadau a gofnodir ynddynt. Y mae'n anhygoel braidd na wyddai na Matthew na Luc nemawr o hanes teulu Mair ar ol geni'r Ceidwad; ac eto 'Hyd oni esgorodd hi ar ei mab cyntafanedig' ydyw gair Matthew; ac 'A hi a esgorodd ar ei mab cyntafanedig' ydyw gair Luc. Ceisir dangos nad oedd hynny, i Iuddew, yn cyfleu dim mwy na bod gan Mair fab, a bod raid ei gyflwyno yn ol y gyfraith fel y cyntafanedig. Y mae hynny'n synwyr, wrth edrych ar yr hanes o safle y rhai oedd yno ar y pryd; ond peth gwahanol fyddai son am gyntafanedig ym mhen blynyddoedd, a gwybod nad oedd dim plant eraill. Digon gan rai o'r beirniaid craffaf a'r hanesyddion manylaf gymeryd y golygiad sy'n cynnyg ei hun gyntaf i bob darllenydd, ac yn rhoddi ei ystyr gyffredin, naturiol, i'r gair brodyr—Meyer, de Wette, Bleek. Stier, Huther, Plummer, a Mayor.

Beth ynte, meddai rhywun, sydd wedi gyrru awdurdodau mor uchel, megis Lightfoot, Plumptre, ac eraill i goleddu tyb wahanol? Eu barn hwy yw mai yr ail syniad sy'n gywir, syniad Epiphanius, sef mai meibion Joseph o briodas o'r blaen oedd brodyr yr Iesu. Rhaid fod rhywbeth cryf ganddynt i'w tynnu i'r ochr honno, ac y mae hefyd, ond fod yn gryn gwestiwn ai digon cryf. Dyna ydyw mewn un gair, traddodiad. Y mae

* Mat. xii. 46. Marc vi. 3. Ioan ii. 12

yn anawdd, rhaid cydnabod, cael traddodiad eglwysig cryfach ar unrhyw bwnc o hanes nag sydd ar hwn. Dyma oedd barn gyffredin yr eglwys yn yr ail a'r drydedd ganrif, ac yn y bedwaredd hefyd hyd amser Jerome. Darlunir Joseph fel hen ŵr o'i gymharu â Mair, fel y byddai ei feibion ef i gyd yn hŷn na'r Iesu, a rhai o honynt, gellid meddwl, bron yn ddigon hen o frodyr i Mair ei hunan.

Yr unig eithriad o bwys yn yr oesoedd yna ydyw Tertullian, tua dechreu y drydedd ganrif. Cymer efe'n ganiataol mai meibion Joseph a Mair oedd brodyr yr Arglwydd: ond eithriad ydyw hynny.

Eto, er mor agos i unllais yw'r traddodiad hwn, y mae dwy ystyriaeth yn ei ddirfawr wanychu. Yn un peth, y mae'n groes i dystiolaeth ysgrifeniadau'r oes apostolaidd; a pheth arall, y mae'n hawdd esbonio pa fodd y tyfodd y traddodiad ei hun. Pan fo traddodiad na wyddom ni am ddim cymhelliad tebyg o fod wedi rhoi bod iddo, os nad oedd yr hanes y dwg efe dystiolaeth iddo'n wir, y peth rhwyddaf ydyw cydnabod, yn niffyg gwell tystiolaeth, mai gwir yw. Er engraifft, nid oedd dim yn y byd i beri i bobl dybied mai Luc oedd awdwr yr efengyl sy'n dwyn ei enw, os nad dyna'r ffaith; ac felly y mae pawb braidd yn ei dderbyn fel traddodiad cywir. Ond ar y cwestiwn am frodyr yr Arglwydd, y mae'r traddodiad yn wan, am y gwyddom ni i sicrwydd braidd mai cyfodi a wnaeth o'r awydd i gredu yng ngwyryfdod perffaith Mair hyd ddiwedd ei hoes. Gwyddom fod y duedd i ystyried gwyryfdod yn sancteiddiach ystâd na phriodas i'w chanfod yn yr eglwys cyn gynared a'r Llythyr Cyntaf at Timotheus,* ac oddi ar y teimlad hwnnw, teimlad a gynyddasai'n ddirfawr erbyn diwedd yr ail ganrif, bernid y buasai'n sarhad ar goffadwriaeth Mair y Forwyn meddwl iddi fod yn fam i neb heblaw Iesu Grist. Er fod Lightfoot ei hun yn dal mai'r dyb yna sydd yn ei lle, eto y mae ei ymdriniaeth ef mor deg a chyflawn nad yw y tystiolaethau a ddwg efe'n ein cau ni i'r un farn ag ef. Yn wir fe benderfynai llawer un heb ddarllen dim ond Lightfoot ar y mater, mai Helvidius ac nid Epiphanius oedd yn iawn.

Am y trydydd syniad, syniad Jerome, mai cefndryd i'r Iesu ydoedd ei frodyr, ni a welsom, er fod hwn y mwyaf poblogaidd gan eglwysi'r Gorllewin, nad oedd fawr ddim i'w ddweud drosto. Ni chymerai Jerome arno fod ganddo nag ysgrif na thraddodiad o'i blaid; ac ymddengys nad yw efe ei hun chwaith yn ei ddal, ym mhob man, yn hollol gyson.

Arfer pobl grefyddol yw apelio at un o dri awdurdod: traddodiad, rheswm, ac Ysgrythyr. O'r tri hyn, y mae traddodiad o blaid meddwl mai gweddw oedd Joseph pan briododd efe Mair, ac mai plant y briodas gyntaf oedd brodyr a chwiorydd yr Iesu; y mae Ysgrythyr a rheswm dros feddwl mai plant Joseph a Mair oeddynt; ac nid oes yr un o'r tri dros gredu mai neiaint a nithoedd oeddynt i un o'r ddau.

Hyd y rhydd yr hanes prin le teg i ni farnu, brawd yr Iesu, a mab Mair, ydoedd Iago awdwr yr epistol. Canlynodd lawer ar y Gwaredwr yn nyddiau'i gnawd; eithr nid oedd yn credu ynddo y pryd hwnw.† Y mae ei frodyr ef, a Iago'n bendifaddeu yn eu plith, gyd â'i fam ef a'i ddisgyblion yn Llyfr yr Actau. Pa bryd yn fanwl yr enillwyd hwy o'u hanghred-

* 1 Tim. iv. 3. † Ioan vii. 5.

iniaeth, nis gwyddom. Am Iago ei hun y mae traddodiad yn tybied ei fod gyd â'r deuddeg yn cyfranogi o'r swper cyn dioddef o'r Iesu, ac yn dweud yn blaen iddo addunedu na fwytäi efe fara o hynny allan, hyd oni welai yr Arglwydd wedi codi o feirw, a darfod i'r Iesu ymddangos iddo, a thorri bara, a dywedyd, 'Bwyta dy fara; canys y mae Mab y dyn wedi cyfodi oddi wrth y rhai a hunant.' Tebycach o fod yn wir ydyw dyfaliad Godet, mewn un o'i draethodau, mai ymddanghosiad yr Iesu i Iago wedi atgyfodi a fu'n foddion troedigaeth iddo. Oddi wrth y traddodiad hwn, yr hwn a gadwyd mewn un o lyfrau Apocryphaidd diwedd yr ail ganrif, 'Yr efengyl yn ol yr Hebreaid,' gallem gasglu mai yn union wedi'r atgyfodiad yr ymddangosodd yr Iesu i'w frawd; ond fel arall y tybiem ni oddi wrth adroddiad Paul, mai ym mhen rhyw ysbaid y bu'r ymddanghosiad hwn, yn ddiweddarach, beth bynnag, na rhai ymddangosiadau eraill. 'Canys mi a draddodais i chwi ar y cyntaf yr hyn hefyd a dderbyniais, farw o Grist dros ein pechodau ni yn ol yr Ysgrythyrau, a'i gladdu, a'i gyfodi y trydydd dydd, yn ol yr Ysgrythyrau; a'i weled ef gan Cephas, yna gan y deuddeg. Wedi hynny y gwelwyd ef gan fwy na phum' cant brodyr ar unwaith; o'r rhai y mae y rhan fwyaf yn aros hyd yr awrhon; eithr rhai a hunasant. Wedi hynny y gwelwyd ef gan Iago, yna gan yr holl apostolion.'* Nid ydym i feddwl mai yr ymddanghosiad noeth a enillodd Iago, mwy nag y darfu i'r weledigaeth ar y ffordd, ar wahan i'r argyhoeddion a fuasai'n ymryson â'i feddwl o'r blaen, enill Paul, ond fe goronodd yr ymddanghosiad hwn i Iago waith oedd wedi dechreu er ys talm. Sicr yw na adawodd gweinidogaeth yr Arglwydd ddim dyfnach argraffiadau ar feddwl un disgybl nag ar ei feddwl ef.

* 1 Cor. xv. 3-7.

## PENNOD IV.

### NEGES A THREFN YR EPISTOL.

FEL pwnc o hanes noeth, ac o farn yr eglwys foreol, ni a gawsom fod Epistol Iago'n hawlio lle yn y Testament Newydd; eithr gadawsom un ddadl yn erbyn hynny heb ei chyffwrdd hyd yn awr, dadl nad oes a wnelo hi ddim â hanes. Nid yw hi'n effeithio dim ar y casgliadau y daethom iddynt am hanes y llyfr. Agor ymholiad arall y mae hi, pwysicach lawer, a nes atom yr un pryd, am werth yr epistol ei hun. Fe deimla pawb wedi'r cwbl, mai dyma'r peth pennaf i'w benderfynnu er mwyn sefydlu teilyngdod llyfr i gael ei gyfrif yn Ysgrythyr. Y mae llyfrau yn y Testament Newydd heddyw, y bu mwy lawer o amheuaeth yn eu cylch nag a fu yng nghylch yr epistol hwn; ac yr ydym rywfodd, braidd yn ddiarwybod i ni'n hunain, yn gadael i feirniadaeth y dyddiau diweddaf hyn orffen torri'r ddadl; ac y mae hynny'n iawn. Nid oes dim yn y byd sicrach o wneud lle llyfr, nid yn y Beibl yn wir, ond yn y Beibl hwnnw o fewn y Beibl, y Beibl y gwneir y defnydd helaethaf o hono, na chnwd o esboniadau ar y llyfr. Dyna'r Epistol at yr Hebreaid: beth a wnaeth hwnnw yn llyfr mor gymeradwy. gan ddiwinyddion a Christnogion cyffredin fel eu gilydd? Beth a'i gwnaeth ef yn llyfr y mae dosbeirth mor hoff o fyn'd iddo i ddarllen, ac mor hawdd gan bregethwyr ddewis testynau o hono? Beth a barodd i bobl wneud cymaint o anrhydedd â hwn, yn anad yr un arall o'r llyfrau y bu dadl unwaith yn eu cylch, nes bod y profion allanol o'i ganoneidd-dra wedi myned yn gwbl ddibwys gan lawer, gan mor werthfawr yw'r llyfr ei hun? Beth sydd wedi peri hyn? Dim ond fod hwn yn fwnglawdd wedi ei weithio. Ysgrifennodd Dr. Owen gynt, a llawer ar ei ol, esboniadau llafurfawr arno. Dygasant ei drysorau i'r wyneb. Os bydd ar feirniaid yr oesoedd nesaf eisieu ail godi'r cwestiwn am le'r epistol yn y Beibl, ni fydd wiw esgeuluso gweithiau fel eiddo'r Dr. Owen Thomas, a'r Principal Edwards, a'r Esgob Westcott, yn y wlad hon, a Meyer a Delitzsch ar y Cyfandir. Nid pa lyfrau a rwymir yn y Gyfrol Sanctaidd ydyw'r unig gwestiwn, na'r cwestiwn mawr, ond pa lyfrau a ddefnyddir ac a ddarllenir amlaf. A'r ffordd i ateb y cwestiwn yna, gyd â golwg ar Epistol Iago, fydd astudio mwy ar yr epistol ei hun.

Wedi iddo gael llonydd am fwy na mil o flynyddoedd, cododd Luther amheuaeth yn ei gylch ar gyfrif ei gynnwys. Dywedai yn ei ragymadrodd i'r Testament Newydd, fod hwn, o'i gymharu âg Efengyl ac Epistol Cyntaf Ioan, ac â'r Epistolau at y Rhufeiniaid, a'r Galatiaid, a'r Ephesiaid, mewn gwirionedd yn epistol gwellt; a rhyfedd son, yr oedd y Cardinal Cajetan, gwrthwynebydd Luther, yr un farn ag ef ar hyn. Yr oedd Calfin o'r tu arall yn barnu nad oedd dim ynddo'n anheilwng o apostol.* Ceisir dangos yn yr ysgrif a'r nodiadau† ar 'Ffydd a Gweithredoedd,' mai cwbl ddi-sail ydyw'r dyb a wnaeth i Luther feddwl fel y gwnaeth, y dyb felly, fod dysgeidiaeth Iago ar gyfiawnhad yn groes i ddysgeidiaeth Paul. Er hynny y mae y cwestiwn a gododd Luther yn un y rhaid ei wynebu. A ydyw'r epistol hwn, o ran ei gynnwys, yn haeddu ei le yn

* Huther, tud. 26, 27. † Gwel Lightfoot, tud. 23-32.

y Beibl? Yn enwedig, a allwn ni ei dderbyn ef i'r cysegr sancteiddiolaf hwnnw o lyfrau'r Beibl, sydd heddyw'n sibrwd cyfrinach meddwl Duw wrthym ni? Nid digon profi fod yr epistol yn un hen, cyn hyned a dyddiau'r apostolion. Fe ddichon fod rhannau o 'Ddysgeidiaeth y deuddeg Apostol' felly. Y mae'r 'ddysgeidiaeth' yn ei ffurf bresennol bron cyn hyned ag oes y rhai diweddaf o gymdeithion Paul; a bernir fod rhannau o honi yn hŷn na'r llyfr i gyd.* Eto ni feddyliai neb roi'r llyfr hwnnw yn y Canon. Fe wel plentyn ddigon o ragor rhyngddo a Beibl. A oes gan Epistol Iago, ynte, ryw genadwri atom ni, neu a oedd ynddo ryw genadwri at ei ddarllenwyr cyntaf, a'i gwna yn rhan anhebgorol o dreftadaeth apostolaidd eglwys Dduw?

Y mae rhai o epistolau'r Testament Newydd, a ddatguddiant eu nheges i ni, cyn gynted ag y gwypom ni rywbeth am amgylchiadau'r rhai yr ysgrifennid atynt. Y mae gwaith yr esbonwyr a'r hanesyddion yn dweud wrthym fod Colossa ac Ephesus yn lleoedd y gellid, o ran eu safle a'u hamgylchiadau, ddisgwyl cael egin Gnosticiaeth ynddynt yn lled gynnar, y mae hynny'n help mawr i ddeall rhai pethau a fuasai'n dywyll yn yr Epistolau at Timotheus, a'r Epistol at y Colossiaid. Eraill o'r epistolau a ddygant eu hagoriad gyd â hwy, megis 1 Pedr a 1 Corinthiaid. Yn hwnnw fe grybwyllir amryw o'r ymholiadau a yrrasid i Paul i gael ei farn arnynt.† Ond pa un bynnag ai o'r epistol ei hun ai o ryw le arall y bo'r wybodaeth am amgylchiadau'r darllenwyr i'w chael, y mae hi'n fynych yn un o'r allweddau goreu i'w gynnwys. Eithr y mae epistolau gwahanol, rhai nad oedd yr achos o'u hysgrifennu ddim i'w gael mewn amgylchiadau lleol na phersonol. Un o'r rheiny ydyw Epistol Iago. Cylchlythyr ydyw, a fwriedid, y mae'n amlwg, i gylch eang o ddarllenwyr. Dyna'r paham y gelwir ef, o'r bedwaredd ganrif ym mlaen, yn Epistol Cyffredinol neu Gatholig, enw a roed ar saith o lythyrau'r Testament Newydd, ar rai o honynt y mae'n wir, heb lawer o briodoldeb. Y maent i gyd, pa fodd bynnag, ond 2 a 3 Ioan yn rhai y gellir eu galw'n Gatholig neu Gyffredinol, gan na ddanfonasid hwy at eglwysi neilltuol, namyn at gylch mwy neu lai eang o ddarllenwyr. Nid y rhai hyn yw yr unig rai chwaith yn y Testament Newydd y gellid eu galw felly. Dywed Plummer‡ fod Clement o Alexandria yn galw'r cylchlythyr a ysgrifennwyd dan gyfarwyddyd Iago at frodyr o'r Cenhedloedd, yn Antiochia, a Syria, a Cilicia yn epistol Catholig§. Ac yn ol rhai beirniaid cylchlythyr yw'r Epistol at yr Ephesiaid. Gwelir wrth y Testament Diwygiedig, na ddylasid rhoi 'yn Ephesus' i mewn yn y cyfarchiad. Nid yw y rhai hyn, ac nid yw Epistol Iago chwaith, heb gadw golwg ar ryw bethau neilltuol; eto wrth fod yr epistol yn un at gylch amrywiol o ddarllenwyr, y mae llai o liw lleol a phersonol arno, cyn lleied yn wir, fel y myn rhai mai traethawd neu bregeth ydyw hwn ac nid llythyr o gwbl, yn ystyr briodol y gair. Ond y gwir yw, fod y llythyr yma, tra'n rhy eang ei gyfeiriad i ni ddisgwyl cael ynddo enwau personau, a disgrifiadau o helyntoedd lleol, yn ddigon pendant hefyd i ni allu gwneud dosbarth o'i ddarllenwyr, er fod hwnnw'n ddosbarth lled liosog. Ni chawn yn wir gymaint o help i ddeall yr epistol wrth ymdroi munud i holi pwy oedd gan Iago mewn golwg wrth ysgrifennu, ag a gaem wrth ofyn yr un peth am yr Epistolau at y Philippiaid a'r Galatiaid; ond ni gawn beth.

* Gwel *Apostolic Fathers* Lightfoot.
† 1 Cor. v. 1, viii. 1, xii. 1. ‡ Plummer, tud. 5. § Actau xv. 23-29

Yr ydys wedi cymeryd yn ganiataol o hyd, mai yn llythyrennol y dylid deall 'y deuddeg llwyth' yn y cyfarchiad; ac nid oes dim yn y llythyr ei hun, nac mewn traddodiad chwaith, yn erbyn hynny. Yr unig gwestiwn gan hynny yw, pa un ai pawb o'r deuddeg llwyth y tu allan i Judea, ynte rhyw ddosbarth neillduol o honynt, a feddylir.

Y mae'n amlwg mai Cristnogion oeddynt, rhai a chanddynt ffydd ein Harglwydd ni Iesu Grist fel yr awdwr ei hunan (ii. 1). Nid yw fod ei lygad yn taflu weithiau o bosibl, y tu allan i gylch eglwys Crist, ddim yn erbyn hyn. Cawn yr Arglwydd Iesu'n fynych, wrth ddysgu'r disgyblion, yn troi i ddweud gair wrth y dyrfa gymysg hefyd a fyddai o'i ddeutu. Yn nhueddau Cesarea Philippi, wrth egluro'r angenrheidrwydd am iddo ddioddef, wedi siarad peth â'r deuddeg, 'efe a ddywedodd,' ebai Luc, 'wrth bawb.'* Fel gwas Duw a'r Arglwydd Iesu Grist y denfyn Iago ei annerch at y deuddeg llwyth sydd ar wasgar; ac fel disgyblion Crist y mae yn eu trin, fel rhai'n credu ynddo ef, ac yn disgwyl ei ail ddyfodiad (v. 8-9).

Ond pa gylch o eglwysi Iuddewig oedd yn ei feddwl ef, wrth ddywedyd 'y deuddeg llwyth sydd ar wasgar,' neu 'yn y wasgarfa?'

Heb law fod Israeliaid erbyn hyn i'w cael braidd ym mhob rhan o'r byd adnabyddus, fel y gallai Iago ddweud yn ei araith, fod i Moses ym mhob dinas, er yr hen amseroedd, rhai a'i pregethent.† Yr oedd tri chylch lle'r oeddynt yn arbenig o liosog, tair gwasgarfa fawr. Gwasgarfa'r Dwyrain oedd y bwysicaf a'r liosocaf o'r tair. Plant y ddwy gaethglud fawr yn bennaf a geid yno, caethglud y deg llwyth dan Tiglathpileser, a chaethglud Judah dan Nebuchodonosor. Ni ddychwelodd ond nifer gymharol fechan o'r deuddeg llwyth adref; a denwyd llawer ar ol hynny i Syria a Mesopotamia er mwyn manteision masnachol. Fel y gwelwn ni oddi wrth Lyfr Daniel, a Llyfr Esther, a Llyfr Tobit, yr oedd gan yr Iuddewon ryw ddawn i ddringo i'r brig i ba le bynnag yr aent; a buan y canfu ei gores-gynwyr eu gwerth. Gwasgarfa'r Aipht a ddaw'n nesaf. Ni gawn Iuddewon yn ymsefydlu yno mor fore a dyddiau caethglud Babilon;‡ ond am y doreth o honynt ymfudo a wnaethant ym mhen oesau wedyn, yn enwedig ar ol sylfaenu Alexandria, o.c. 332, lle'r ordeiniwyd breintiau arbennig i'r Iuddewon a ddelent yno i fyw, er mwyn gwneud lles i fasnach y ddinas. Yr un ffunud, ymfudo o honynt eu hunain a ddarfu i'r lliaws mawr hefyd o wasgarfa Asia Leiaf, neu wasgarfa'r Gorllewin; a gwobrwy-wyd hwythau hefyd gan y Groegiaid i ddechreu, a chan y Rhufeiniaid wedi hynny, trwy roi llawer o fanteision yn eu ffordd.

Yr oedd mwy o Iuddewon gyd â'u gilydd, a mwy lawer o eglwysi Iuddewig, yn Syria a Mesopotamia nag yn yr un o'r ddwy wasgarfa arall. O wrandawyr Simon Pedr a'i gyd-apostolion ddydd y Pentecost,§ y Parthiaid, a'r Mediaid, a'r Elamitiaid, a thrigolion Mesopotamia sydd flaenaf, wrth eu henwi, awgrym o bosibl, mai y rhain oedd y rhan liosocaf o'r cynhulliad yn ol yr herwydd.‖ Israeliaid y cylch yma hefyd a ad-waenai Iago oreu; a chyd â hwynt y byddai ei ddylanwad ef yn debyg o fod gryfaf. Rhai'n ymdaith yn Syria a Cilicia a ddefnyddiasant enw Iago,

* Luc ix. 23. † Act. xv. 21. ‡ 2 Bren. xxv. 26. § Actau ii. 9-11.
‖ Rhaglith Mayor, Tud. 110-112.

ac awdurdod Eglwys Jerusalem i drallodi eu cymydogion Cenhedlig (Actau xv. 23-29). Y peth tebycaf gan hynny yw, mai at y wasgarfa yna y danfonodd Iago'i epistol. Rhy fawr o gylch fuasai yr holl wasgaredigion i ddanfon copïau i bob rhan o hono. Nid oedd eisieu nodi'r terfynau chwaith, mwy nag yr oedd eisieu dweud mai i Gristnogion y bwriedid y llythyr, gan yr ymwnai'r llythyr a phynciau digon angenrheidiol i'r deuddeg llwyth ym mhobman gael eu goleuo ynddynt, os deuent rywdro i gyrraedd cyfle i'w ddarllen ef.

Ni a ddisgwyliem felly gael y llythyr hwn, o ran ei drefn, yn debycach i lyfryn nag i lythyr; ac felly y mae. Y mae ol ysgrifennu pwyllog, gofalus, ar ei arddull. Nid oes yma ddim o'r brys sydd yn yr Epistol at y Galatiaid, na dim wedyn o'r diffyg cynllun ffurfiol sydd yn yr Epistol at y Philippiaid; lle y cawn ni Paul yn hwylio dibennu ddwywaith, ac yn troi'n ol wedyn i son am fater newydd. 'Weithian, fy mrodyr,' eb efe yn iii. 1, 'Yn ddiweddaf, frodyr,' yn iv. 8. Y mae Epistol Iago yn myned rhagddo ar ei union, ond fod rhyw bynciau sydd agosach na'u gilydd at galon yr awdwr yn dyfod i'r wyneb eilchwyl ac eilchwyl. Llythyr y buasem ni'n disgwyl cael hwn, gan ddarfod ei ysgrifennu ar gyfer eglwysi gwahanol mewn gwahanol gymydogaethau—yn trin rhyw fater neu faterion mewn trefn. Disgwyliem ei gael yn waith dyn wedi eistedd i lawr i lunio ac i feddwl cyn ysgrifennu.

A bwrw ynte fod yn deg i ni ddisgwyl trefn mewn epistol fel hwn, pa fath drefn y dylem ni chwilio am dani ynddo? Beth oedd bwriad Iago, ai ysgrifennu gair ar nifer go fawr o bynciau heb ddim cysylltiad rhyngddynt, ond yn unig a godai o'u bod hwy i gyd yn hoff bynciau ganddo, ac yn rhai angenrheidiol i'w ddarllenwyr; ynte ysgrifennu ar ryw un pwnc yn bennaf?

Y cyntaf o'r ddau yna y mae y rhan fwyaf o lawer wedi ei gymeryd yn ganiataol, nes gwneuthur Epistol Iago'n rhyw Lyfr Diarhebion yn y Testament Newydd. Addefir fod y diarhebion a'r cynghorion yn llinyn pur gysylltiol weithiau; ond ofer, meddir, ydyw chwilio am gysylltiad trwy y llyfr i gyd. Y Deon Plumptre a ddywed air pur bendant i'r cyfeiriad yna yn ei Raglith. 'Prin y gall braslun amcanu at ragor nag olrhain trefn y materion, gan ddangos lle y gellir hynny dreigliad y meddyliau.' Ac yn ei eglurhad ar gysylltiadau v. 19-20 fe ddywed: 'Wedi dywedyd hyn, nid oes gan yr awdwr ddim rhagor i'w ddweud; ac am hynny y mae'r llythyr yn dibennu.' Yn ol Huther drachefn y mae yn v. 12-13 ddau gyngor, un ar dyngu a'r llall ar addoli, heb ddim cysylltiad o gwbl rhyngddynt. (Gwel yno).

Wrth reswm ni fuasai dim yn erbyn i Esgob Jerusalem ysgrifennu cyfres o ddarnau ar wahanol faterion, heb eu gwneuthur yn un cyfanwaith, a'u danfon yn llythyr argylch i eglwysi'r gwasgariad. Ni a wyddom fod Iago'n dra hoff o lenyddiaeth o'r fath yna yn yr Apocrypha, Doethineb Solomon, a Doethineb Jesus mab Sirach. Y mae hefyd ddarnau heb lawer o gynllun iddynt na chysylltiad rhyngddynt mewn rhai o lyfrau'r Testament Newydd, megis y bennod olaf o'r Llythyr at yr Hebreaid. Eto ar y cyfan chwilio am gynllun y byddwn ni mewn llyfr, heb gydnabod nad oes un nes methu ei gael. Y mae'r esbonwyr yn fawr eu hawydd a'u hymdrech i gael cynllun a chysylltiad trwy Epistol Cyntaf Ioan, llyfr llawer llai cysylltiol ei arddull, a llawer mwy diarhebog nag Epistol Iago

Lle bynnag y gellir, heb ystumio a chywreinio, efrydu llyfr wrth lewyrch rhyw feddwl neu feddyliau arweiniol, y mae efrydu fel yna'n sicr o dalu am dano ei hun.

Hyd yn oed wrth fras ddarllen Epistol Iago, ni a ddown o hyd i arwyddïon fod rhyw ystyriaethau pur groew a phendant yn uchaf ar feddwl yr awdwr. Fe wel pob darllenydd, boed ddysgedig neu anysgedig, fod sylwadau ymarferol Iago yn hawdd iawn eu dosbarthu dan ychydig bennau. Y mae'r esbonwyr o hyd yn ein troi ni yn ol ac ym mlaen, i weled meddyliau cyffelyb mewn gwahanol rannau o'r llyfr. Danghosant i ni pa fodd y cymer yr awdwr yr un safle drachefn a thrachefn, a pha fodd y daw y pechodau parod i amgylchu'r Iuddewon hyn i'r wyneb eilchwyl ac eilchwyl. A phan fo arnom eisieu adnodau i rybuddio rhag pechodau'r tafod, balchder, bydolrwydd, proffes uchel dwylledig a thwyllodrus, uchelgais hunangar, anghariad, a drygau o'r rhywogaeth yna, i Epistol Iago y trown ni ar ein cyfer. Yn awr y mae'r pechodau hyn yn ddosbarth ar wahan. Pe traethu ar grefydd ymarferol yn gyffredinol fuasai bwriad yr awdwr, fel y mae cynifer wedi tybied, prin y buasai holl bwyslais y cyngor ar ryw un dosbarth o feiau. Ychydig mewn cymhariaeth sydd yma o son am bechodau'r cnawd. Godineb ysbrydol ydyw'r pechod a ddarlunir yn iv. 4. Ac yn yr unig fan arall lle y sonir am odineb, gwneir hynny i ddangos fod pechodau yn codi o ddigofaint ac anghariad yn bechodau mor wirioneddol a phechodau'r cnawd, fel y dywed yr Arglwydd Iesu yr â publicanod a phuteiniaid i deyrnas Dduw o flaen y rhagrithwyr. Yn wir cais gwastadol Iago, fel ei Arglwydd, ydyw deffro mewn dynion yr un casineb at bechodau cêl ag a deimlir yn gyffredin at bechodau ffiaidd, gwarthus. 'Os ti ni odinebi, eto a leddi, yr wyt ti yn troseddu y gyfraith.'* Nid oes yma ddim son am feddwdod, dim son am ladrad yn ystyr gyffredin y gair. Gelwir ein sylw oddi wrth y pechodau sydd eisoes dan warthnod at y rhai sydd yn dangos yr un anian mewn agwedd anaws ei nhabod: oddi wrth ladrad at drais, a gorthrwm, a chamwri; oddi wrth anwybodaeth, ac anghoethder, a drygfoes y werin, at genfigen chwerw ac ymryson yn y rhai a chwenychent y blaen. Canys heb law bod yn ddosbarth ar wahan o bechodau, y mae y pethau a gondemnir yma'n bechodau dosbarth neilltuol o gymdeithas, pechodau'r uchelradd. Ym mhlith y rhai uchelradd rhaid i ni gynnwys y cyfoethogion i ddechreu, ac wedi hynny bawb sy'n uwch eu mhanteision na'r cyffredin, dosbarth blaenllaw cymdeithas.

Os trown ni wedyn oddi wrth gŵyn yr awdwr yn erbyn pechodau ei gydgenedl, at y blinderau y dymunai efe ddiddanu a chryfhau ei frodyr ynddynt, daw unoliaeth yr epistol yn amlycach fyth. Y mae, fel Epistol Cyntaf Pedr, yn dechreu ac yn dibennu yn swn profedigaethau; ond nid yr un rhai yw profedigaethau Epistol Iago a phrofedigaethau 1 Pedr. Erlidiau o herwydd enw Crist sydd mewn golwg yno; eithr nid yw y rheiny o gwbl yn amlwg yn yr epistol hwn. Y mae esbonwyr wedi cymeryd yn lled gyffredin eu bod, ond heb sail yn y llythyr ei hun. Yr unig fan y gallai fod cyfeiriad at erledigaeth ydyw ii. 7; ond gorthrwm cymdeithasol, fel yr un a ddarlunir yn v. 1-6, ydyw'r ystyr sy'n gweddu oreu i'r cysylltiadau yn y fan honno hefyd.† Ac ym

* Cymh. Mat. xxi. 31, a Iago ii. 11.
† Gwel ar ii. 7.

mhob man arall braidd y mae'r cyfeiriad yn bur glir at brofedigaethau nad yw y broffes o Grist mo'r achos o honynt. Ym mhennod i. er esiampl, ymddengys i mi fod yr awdwr, yn adn. 9-10, yn nodi cyn eglured ag y gall dim fod, pa brofedigaeth, yn un beth bynnag, oedd ganddo mewn golwg yn adn. 2. 'Cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau. . . . Y brawd o radd isel ymffrostied yn ei oruchafiaeth, a'r cyfoethog yn ei ddarostyngiad. . . . Gwyn ei fyd y gŵr sydd yn goddef profedigaeth.' Y mae'n amlwg mai profedigaethau dynion oddi wrth eu hamgylchiadau tymhorol, ac ôl hynny ar eu hysbrydoedd hwy, sydd ar y wyneb drwy'r gyfran yna, ac mai bwriadu yr ydys gymhwyso dysgeidiaeth yr efengyl ar brofedigaethau'n gyffredinol at ddosbarth neilltuol o honynt. Trowch i'r bennod olaf eto. Profedigaethau ydyw'r prif linyn yno hefyd, o'r seithfed adnod i'r diwedd; a'r un feddyginiaeth a gynygir yno ag yn nechreu'r llythyr, amynedd a gweddi. 'Byddwch gan hynny dda eich amynedd. . . . A oes neb yn eich plith mewn adfyd, gweddïed.' Ac a oes lle i ronyn o amheuaeth pa brofedigaethau a feddylir? Onid y rhai a ddisgrifir yn yr adnodau o'r blaen, gorthrwm y rhai goludog, oedd yn galw moethau beunydd yn hyfrydwch, ac yn eu pesgi eu hunain ar drael gwneuthur cam â'r tlodion? Felly i raddau mwy neu lai amlwg drwy'r epistol, y gorthrwm hwn yn bennaf sydd ger bron o hyd, fel pechod y cryf a phrofedigaeth y gwan.

Onid yw hyn oll yn ddigon ym mlaen-llaw i awgrymu fod gan Iago neges ac amcan oedd yn uwch na dim arall yn ei feddwl wrth ysgrifennu? Onid oes yma beth bynnag ddigon o arweiniad i'n hudo ni i chwilio am ychwaneg. Ni fydd wiw gwneud cynllun a bwriad, a'u dirwasgu ar yr epistol; ond y mae'r darllen mwyaf brysiog arno'n ddigon i'n hargyhoeddi ni fod yn werth chwilio am gynllun, nid cynllun traethawd yn gwbl fe allai, fel yr un a geir, dyweder, yn Rhagdraeth Dr. Edwards i *Gorff Diwinyddiaeth* Dr. Lewis, ond yr un fath gynllun ag a ddilynai yr un awdwr wrth adolygu llyfr yn y *Traethodydd*, cynllun rhwydd, ystwyth, heb ei saernio'n rhy dŷn. Yn wir cylchlythyr fel hwn oedd y peth tebycaf yn llenyddiaeth yr oes honno i erthygl mewn cylchgrawn yn ein hoes ni.

Yr wyf wedi anturio awgrymu hefyd beth yw'r agoriad tebycaf o ddadgloi cyfrinach y llythyr; nid yr ymrafael rhwng enwaediad a dienwaediad fel yn yr Epistol at y Galatiaid; nid pleidiau yn dilyn gwahanol athrawon, megis y bu yng Nghorinth; ond cweryl nes atom o lawer iawn, hen ymrafael sydd wedi myned i fêr esgyrn cymdeithas, y pellter poenus rhwng cyfoethog a thlawd.

Dichon y cyfrifir yn hyfdra, mewn esboniwr lled ddi-brofiad, gynnyg deongliad ar amcan llyfr sydd yn dra amddifad o awdurdod beirniaid blaenorol yn yr un maes. Fy esgusawd yw, fy mod yn credu na allai dim gadw'r beirniaid rhag gweled peth a ymddengys i mi mor amlwg, ond rhagdybiaeth gref fod Iago'n fwy di-gynllun, bu agos i mi ddweud, yn fwy di-lun ysgrifennwr, na braidd neb o awduron y Testament Newydd. Eto addefa'r esbonwyr oll, a hynny gyd â phwyslais, fod yn hawdd iawn gan Iago ddychwelyd drachefn a thrachefn at ryw bynciau, a bod y pwnc yma'n un, os nad y pennaf un o honynt; eithr ni fynnant roddi cam pellach, a dweud mai hwn yw pwnc mawr yr epistol. Y mae Pfleiderer yn rhoi peth cefnogaeth i'r golygiad hwn. Myn efe, gan ystyried yr

epistol yn un diweddar iawn, mai gwrthdystiad duwioldeb syml y werin ydyw, yn erbyn rhodres a rhagrith y gwŷr mawr, peth digon hawdd ei ddeall mewn adeg yr oedd crefydd ynddi wedi myn'd yn beth ffasiynol. Gwendid y golygiad yma yw ei fod yn rhy naillochrog. Y mae gan Iago air i'w ddweud wrth y tlawd yn gystal a'r uchelradd. Er mai â'r cyfoethog yr ymliwia efe fynychaf, eto ni fynnai i ni feddwl ar un cyfrif fod y perygl i gyd o un cyfeiriad.

Nid yw'n syn o gwbl i Iago ysgrifennu ar y fath bwnc a hwn. Sylwa'r Proffesor Adeney,* mai gan Iago, o holl ysgrifenwyr y Testament Newydd, y mae yr adleisiau amlaf o ddysgeidiaeth Iesu Grist; ac yn ol y Proffesor Denney,† nid oes dim un pwnc ag y llefarodd yr Iesu gymaint arno ag arian. Os ymddengys hynny yn ddweud cryf, y mae'n werth sefyll uwch ei ben. Pregethodd fwy yn erbyn cybydd-dod nag yn erbyn yr un pechod arall ar ei ben ei hun.‡ Nid lle digwyddiadol chwaith sydd i'r mater yn ei ddysgeidiaeth ef, ond lle pwysig, blaenllaw, fel pe bai dull dyn o drin eiddo yn un o'r coelion mwyaf digamsynied o'i garitor ef. Ni fynnai efe i ni feddwl, bid siwr, fod ariangarwch yn waeth pechod na ryw bechod arall; eithr y mae'n bechod peryclach, tebycach o gadw dyn o deyrnas Dduw na braidd yr un. 'Mor anawdd yr â y rhai y mae golud ganddynt i deyrnas Dduw.' 'Ni ellwch wasanaethu Duw a mammon.' 'Dos gwerth yr hyn oll sydd gennyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gei drysor yn y nef; a thyred, canlyn fi.' 'Gwnewch i chwi byrsau y rhai ni heneiddiant, trysor yn y nefoedd yr hwn ni dderfydd, lle ni ddaw lleidr yn agos, ac ni lygra pryf.' Efengyl i dlodion ydyw efengyl Iesu Grist; ac fel tlodion y rhaid i bawb ei derbyn hi. Nid oes unrhyw berthynas gyffredin ar y ddaear y disgwyliem, oddi wrth dôn ei ddysgeidiaeth ef, i'r efengyl newid mwy arni na pherthynas cyfoeth a thlodi. Pa ryfedd, gan hynny, os darfu i frawd yr Arglwydd ysgrifennu llyfr yn unswydd, braidd, er mwyn egluro'r wedd yma ar deyrnas Dduw?

Ni a wyddom fod y pwnc yma'n pwyso'n drwm ar ystyriaethau'r eglwys yn ei blynyddoedd cyntaf. Hi gymerodd arni ei hun ar unwaith y gorchwyl dyrys o wastatau'r gwahaniaeth a wnai tlodi a chyfoeth rhwng dynion, dan deimlad gonest, yn ddiau, fod hynny'n anfantais iddynt gynnyddu mewn gras; a hi a brofodd ryw lawenydd di-gyffelyb yn yr ymdrech; a llwyddiant mawr ar deyrnas y Gwaredwr a ddilynodd ei chais. 'Y rhai a gredent oeddynt oll yn yr un man, a phob peth ganddynt yn gyffredin: a hwy a werthasant eu meddiannau a'u da, ac a'u rhanasant i bawb, fel yr oedd yr eisieu ar neb. A hwy beunydd yn parhau yn gytun yn y deml, ac yn torri bara o dŷ i dŷ, a gymerasant eu lluniaeth mewn llawenydd a symledd calon, gan foli Duw, a chael ffafr gan yr holl bobl. A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai fyddent gadwedig.'§

Y mae'r llwyddiant ysbrydol yna'n profi fod yr egwyddor yn un iach; eithr nid yw'n codi'r cymhwysiad o honi hi uwch law beirniadaeth. Anfoddhaol iawn y gweithiodd y drefn. Yn un peth, gwrthodai dynion

* Y '*Christian World Pulpit*,' Tachwedd 9, 1898, tud. 301.
† Y '*Christian World Pulpit*,' Tachwedd 30, 1898, tud. 344.
‡ Mat. vi. 19-34; Marc x. 17-31; Luc vi. 20; vii. 22, xi. 41, xii. 13-34, xvi. 1-31, xix. 1-10.
§ Actau ii. 44-47.

anonest ddwyn eu rhan o'r baich. Tra y mae Barnabas yn rhoi holl werth yr eiddo yn llaw'r apostolion, dyna Ananias a Saphira yn darnguddio. Hefyd buan yr aeth y gwaith o rannu yn ormod o gyfrifoldeb hyd yn oed i'r apostolion. 'Bu grwgnach gan y Groegiaid yn erbyn yr Hebreaid, am ddirmygu eu gwragedd gweddwon hwy yn y weinidogaeth feunyddiol;' a dyna a barodd ethol y saith.* A oedd peth sail i'r gŵyn, nis gwyddom; ond pa un bynnag am hynny, os oedd y llywodraeth yn ddigon teg i osgoi gwneuthur cam, nid oedd hi ddim yn ddigon perffaith i osgoi ei drwgdybio. Gwendid ac amherffeithrwydd y llywodraeth yw un ddadl fawr bob amser yn erbyn cymrodoriaeth; ac fe ddaeth hynny i'r golwg hyd yn oed gyd â chymrodoriaeth wirfoddol yr oes honno. Diffyg arall yn y drefn oedd fod dynion diog yn debyg o gymeryd mantais anheg arni hi. I ba raddau yr efelychwyd trefn Jerusalem gan eglwysi eraill, nis gwyddom. Amlwg yw fod rhai o'i nodweddau hi wedi cario'n bur bell. Yn Thessalonica, pan ysgrifennai Paul at yr eglwys yno, ymddengys fod rhai'n rhodio'n afreolus, yn bwyta bwyd y frawdoliaeth yn lle ennill eu bara fel dynion eraill; a chyd â golwg ar hyn y rhoddasid y gorchymyn, 'Os byddai neb ni fynnai weithio, na chai fwyta chwaith'.† Yn ddiweddaf, ni atebodd y drefn mo'r diben y sefydlasid hi er ei fwyn. Ni bu yn feddyginiaeth i'r tlodi oedd yn Jerusalem a Judea. Pan ddaeth y newyn hwnnw yn ystod teyrnasiad Claudius Cesar, newyn a fu drwy y gwledydd hynny, ar saint Judea y gwasgodd y cyfyngder dostaf; oblegid gwnaeth eglwysi Antiochia a'r amgylchoedd gasgliad i dlodion Judea, 'Gan ddanfon at yr henuriaid trwy law Barnabas a Saul.'‡ Ac ym mhen wyth mlynedd wedyn, o.c. 52, ni gawn fod yr un gŵyn yn blino Jerusalem a Judea. Pan rannodd Paul ac athrawon yr enwaediad y byd rhyngddynt, gwnawd yr eithriad yma, anogwyd Paul a Barnabas i gofio'r tlodion, yr hyn beth y buant hwy ddyfal i'w wneuthur; a Iago, awdwr yr epistol hwn, oedd un o'r tri oedd yn rhoi'r anogaeth, prawf fod y pwnc yn nodedig o agos at ei galon ef.§ Sonir am drydydd casgliad tua'r flwyddyn 57, ar gyfer yr un tlodi.||

Fe allai y codai yr un anhawsterau eto ped amcenid gosod ar ddynion, o fodd neu anfodd, ryw drefn gyffelyb o gydfydio noeth. Heb i ryw gyfnewidiad mawr ddyfod dros ddynion, byddai'r drefn yn un gwbl anobeithiol i'w gweithio yn ei symledd di-gymysg. Fel ffordd i gymhwyso'r egwyddorion, methu a wnaeth y cynllun, rhaid addef; eto ni ddylai hynny'n dallu ni i werth a gogoniant yr egwyddor ei hun. Nid colli'n hyder yng ngair yr Arglwydd a ddylem, nid dewis egwyddorion marchnad o flaen egwyddorion teyrnas nefoedd, ond chwilio am amgenach dull o weithio'r rheiny allan. Y mae fod y cais yma wedi ei wneud yn yr oes apostolaidd, pa fodd bynnag, yn brawf fod y cwestiwn, y pryd hwnnw, fel y mae yn awr, yn bwnc y dydd. Naturiol iawn gan hynny oedd i arolygydd yr eglwys lle'r oedd y cwestiwn yn gwasgu drymaf, ysgrifennu arno at ei frodyr oddi cartref; oblegid yr oedd y peth a'i blinai ef mor fawr yn Jerusalem—caledi mawr ym mysg y lliaws, a chyfoeth mawr gan ryw ychydig—i'w deimlo'n ddiau, i gryn fesur, ym mysg Iuddewon y wasgarfa; a chai Iago ddigon o gyfle, yn y gwyliau a ddygent gynifer o ddieithriaid i Jerusalem, i glywed helynt eu heglwysi hwy.

Bu Iago'i hunan yn dyst o aflwydd y prawf a wnaed ar gadw pob peth

* Actau vi. † 2 Thes. iii. 10. ‡ Actau xi. 27-30.
§ Gal. ii. 9-10. || 1 Cor. xvi. 1-4.

yn gyffredin; a thra gwahanol ydyw ei gynnyg ef at wella'r clwyf. Dechreuasai yr eglwys yn Jerusalem trwy ffurfio cynllun i wneud pawb yn frodyr, gan obeithio magu ysbryd brawdol mewn dynion trwy hynny. Y mae Iago yn dechreu yn y pen arall yn union, dechreu gydag ysbrydoedd dynion, gan ddisgwyl i hynny mewn amser wneud trefn ar eu hamgylchiadau. Nid nad yw yn amcan yr efengyl wneud llawer iawn i'r byd yma yn ei amgylchiadau; ond oddi mewn y mae hi'n dechreu; ac yn hyn o beth y mae Iago wedi gweled yn ddyfnach i gyfrinach ei Arglwydd nag y gwelsai corff yr eglwys am rai blynyddoedd ar ol dydd y Pentecost. Mater o deimlad iddo ef ydyw gwneud dynion yn frodyr, mater o deimlad cyn y gall fod yn fater o drefn, 'Y brawd o radd isel llawenyched yn ei oruchafiaeth; a'r cyfoethog yn ei ddarostyngiad.' Dyna destyn yr epistol. Yn lle disgwyl nes caffont eu dwyn i iawn berthynas â'u gilydd gan amgylchiadau, er mwyn medru caru eu gilydd fel brodyr, yn lle aros i ryw rym oddi allan chwalu'r canolfur sydd rhyngddynt, creded yr iselradd a'r cyfoethog yr efengyl yn ddigon llwyr, cymhwysant hi bob un at ei amgylchiad ei hun, ac fe fydd yr anhawster wedi ei orchfygu. Chwaneg, ni theimlir mwyach y bydd anhawsder yn bod. Yn lle rhoddi teimlad brawdol yn nod i anelu ato yn y pellter, cymered pob gradd y tir yna ar unwaith, fel tir wedi ei ennill eisoes gan Waredwr y byd. 'Un yw eich Tad chwi; a chwithau oll brodyr ydych.' Nid 'chwi ddowch yn frodyr,' ond 'brodyr ydych.' Rhaid derbyn hynny ar ei air ef. Dichon y bydd amgylchiadau'n hir cyn dwyn delw syniad Iesu Grist am ddyn; ond coeliwn yr Iesu er gwaethaf pob ymddanghosiad i'r gwrthwyneb. Y mae rhyw gyfiawnhad trwy ffydd ar gymdeithas, yn gystal ag ar ddynion bob yn un. 'Ymffrostied y brawd o radd isel yn ei fonedd, a'r cyfoethog yn ei ddarostyngiad.' Cymered y naill ei ddarostyngiad, a'r llall ei oruchafiaeth, nid fel pethau i'w dymuno yn unig, nid fel pethau i obeithio o bell am danynt, ond fel pethau wedi dyfod i ben. Fe ddaw amgylchiadau o fesur ychydig, yn gydffurf â hynny; eithr ni ddygymydd pobl ddim â'u gwneuthur yn frodyr fel mater o drefn a gosodiad, heb eu bod felly eisoes o ran eu hysbryd; ac nid yw Iago, mwy na'r Arglwydd Iesu, yn ateb y cwestiwn am y drefn oreu ar amgylchiadau'r byd, i ddwyn hyn i ben yn allanol. Yr oedd efe ei hun wedi gweled yr unig drefn a gynygiasid, i raddau'n fethiant; ac fe welai yn glir bellach, mai'r angenraid cyntaf oedd addfedu ysbrydoedd dynion, a'u dwyn i deimlo, nad oedd goruchafiaeth y cyfoethog, a darostyngiad y tlawd, ddim yn cyfateb i wir safle'r ddau yng Nghrist Iesu, a bod y pellder eisoes wedi ei ddiddymu ynddo ef.

Gellid meddwl mai dyma'r ffordd a gymerodd yr eglwys i drin anhwylderau cymdeithas, ar ol y prawf cyntaf hwnnw ar wella dynion trwy drefniadau. Dyma'r ffordd a gymerodd hi, beth bynnag, i wynebu caethwasiaeth. Dyma'r llwybr a gymerodd hi gyd â golwg ar berthynas gwrryw a benyw. Yr un fath yr ymddygodd at y gwahaniaeth rhwng cenedl a chenedl, ac at y gwahaniaeth rhwng enwaediad a dienwaediad. Nid cynghori'r Iuddewon i roi heibio'u defodau a wnaeth Paul, nid cynhyrfu am undeb ffurfiol rhwng y gwledydd, nid ymyrraeth a safle'r wraig yn y teulu, nid cychwyn cymdeithas i ryddhau'r caethion, ond peth ffrwythlonach na'r un o'r rhai hyn. Cyhoeddi yn enw Crist fod y gwahaniaethau yma rhwng dynion wedi diflannu. Fe roes ysbryd newydd mewn dynion o dan yr hen drefniadau; ac fe adawodd rhwng yr ysbryd hwnnw

a chwaln'r trefniadau a gweithio rhai amgenach o'r tu mewn. 'Pob un yn yr alwedigaeth y galwyd ef, yn honno arhosed. Ai yn was y'th alwyd, na fydded gwaeth gennyt; eto os gelli gael bod yn rhydd, mwynha hynny yn hytrach; *ie, hyd yn oed os gelli gael bod yn rhydd, mwynha hynny yn hytrach, sef y gwasanaeth.* Canys yr hwn, ac efe yn was, a alwyd yn yr Arglwydd, gŵr rhydd i'r Arglwydd ydyw; a'r un ffunud yr hwn, ac efe yn ŵr rhydd, a alwyd, gwas i Grist yw. Er gwerth y'ch prynwyd; na fyddwch weision dynion.' 'Nid oes nac Iuddew na Groegwr; nid oes na chaeth na rhydd; nid oes na gwrryw na benyw; canys chwi oll un ydych yng Nghrist Iesu.' 'Nid oes Groegwr nac Iuddew, enwaediad na dienwaediad, Barbariaid na Scythiaid, caeth na rhydd, ond Crist sydd bob peth ac ym mhob peth.'*

Y mae Iago felly'n cydsefyll yn berffaith â dull cyffredin y Testament Newydd o drin y gwahaniaethau gwneud sy rhwng dynion a'u gilydd. Y mae ei efengyl yntau, fel efengyl Paul, yn dwyn pobl i daeru yng ngwyneb eu hamgylchiadau, mai bwrw hug dros eu gwir safle y mae'r wedd allanol sydd arnynt, mai yr hyn ydynt ger bron Duw ydynt hwy mewn gwirionedd. 'Ymffrostied y brawd isel radd yn ei radd uchel, a'r cyfoethog yn ei ddarostyngiad.' 'Na fydded gennych ffydd ein Harglwydd ni Iesu Grist gyd â derbyn wyneb.' 'Na fyddwch feistriaid lawer fy mrodyr. . . . Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro.' 'Beth yw eich einioes chwi? Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hynny yn diflannu.' 'Iddo yn awr, chwi gyfoethogion, wylwch ac udwch am eich trueni sydd yn dyfod arnoch.' 'Dedwydd yr ydym yn gadael y rhai sydd ddioddefus: chwi a glywsoch am amynedd Job, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd.' Dyma gyweirnod cyson yr epistol. Y mae'r byd wedi ei orchfygu mewn gwirionedd, cyn ei orchfygu mewn gweithred ac ymddanghosiad. Fe'i gwna hyn ef yn haws ei orchfygu felly hefyd.

A bwrw felly, fod gennym gryn le i feddwl, mai prif neges Iago at ei gydgenedl yn y llythyr hwn ydyw diddymu'r pellter rhwng gradd a gradd, ymofynnwn bellach, pa fodd yr etyb gwahanol rannau'r llythyr y diben yna. A'r ffordd oreu i ddangos hynny fydd cynnyg braslun o'r epistol. Teg ydyw i'r darllenydd gael gwybod, nad wyf wedi manwl ddilyn yr un o'r awdurdodau wrth baratoi hwn. Paragraffio hen lyfr, a ysgrifennwyd cyn i'r defodau diweddar o rannu ac adrannu ddyfod i mewn, ydyw un o'r goruchwylion mwyaf dyrys a ddaw i ran esboniwr; eto gwaith ydyw ag y mae pawb cyn rhydded a'u gilydd i arfer ei farn arno; oblegid nid oedd dim arweiniad yn y llawysgrifau cynaraf oll gyd â golwg ar hyn. Hefyd ni chawn ni mo'r awdurdodau pennaf yn canlyn yr un drefn i gyd. Er siampl, ym mhennod v., dyry'r Testament Saesneg Diwygiedig y ddwy adnod ola'n baragraff ar wahan, tra nad oes gan Westcott a Hort baragraff newydd o adn. 13 i'r diwedd. Ac fel y mae'r ysgrifennwr yn cymeryd ei ryddid i farnu drosto'i hun pa le y byddai gymhwysaf dodi'r terfynau, nis gall yntau warafun yr un rhyddid i'w ddarllenwyr.

* Cor. vii. 20-23, Gal. iii. 28, Col. iii. 11.

## *BRASLUN O GYNNWYS YR EPISTOL.*

### RHAGLITH YR EPISTOL.—i. 1-18.



### BRAWDGARWCH.—i. 19-iv. 12.

Ar ol annerch ei ddarllenwyr, fe'u hannog Iago hwy i gyfrif eu profedigaethau'n llawenydd, nid er mwyn y profedigaethau eu hunain ddim, ond am eu bod yn profi ffydd ac yn magu amynedd; a ffydd wedi troi'n amynedd sy'n cyrhaeddyd doethineb. Y ffordd y mae hi'n gwneud hynny ydyw trwy weddi ddyfal ar Dduw.

Ffurf ar lawenydd mewn profedigaeth ydyw'r hyn a ddaw i'r wyneb yn union fel prif destyn y llythyr—ymffrost mewn peth croes i'r amgylchiadau. Y mae'r efengyl wedi darganfod gŵr bonheddig yn y dyn tlawd, a thruan darfodedig yn y cyfoethog; a chraffu ar hynny a geidw'r ddau yn eu lle. 'Megis blodeuyn y glaswelltyn'—felly y diflanna'r cyfoethog yn ei ffyrdd; ac o'r tu arall, 'Gwyn ei fyd y gŵr sy'n goddef profedigaeth.'

Ond er mai Duw bia'r fendith sydd yn y profedigaethau, nid ei waith ef ydyw'r perygl sydd ynddynt. Nid efe sy'n eu gwneud yn demtasiynau i bechu. Y mae yr hyn ydyw Duw, yr hyn ydyw dyn, daioni Duw yn ei ragluniaeth, a daioni Duw yn ei ras, yn peri nas gallwn am foment dybied hynny. Ei waith ef ydyw ein hachub ni.

Wedi'r sylwadau arweiniol ni gawn brif ddarn yr epistol, darn ar frawdgarwch. Nid yw y gair 'brawdgarwch' ddim yn Epistol Iago; eithr y mae'r peth yma o hyd. Cawn y gair 'brawd' neu 'frodyr' gynifer a phedair gwaith ar bymtheg mewn llyfr byr o wyth adnod a chant. Agorir y rhan yma trwy ddangos pa ysbryd sydd weddus i rai y mae eu hiachawdwriaeth yn gwbl o ras Duw. Yr ystyriaeth hon sydd i orchfygu profedigaeth fawr pobl flaenllaw mewn byd ac eglwys, y brofedigaeth i fod yn falch, yn hunangyfiawn, ac yn anfrawdol. 'Esgud i wrandaw, diog i lefaru, diog i ddigofaint,' ebai dechreu'r ymdriniaeth; 'Na ddy-

wedwch yn erbyn eich gilydd, frodyr. . . . Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu dy gymydog?' ydyw'r diweddglo.

I ddechreu ynte, am yr ysbryd y mae'r efengyl yn ei feithrin, y mae'n fwy mewn gwrandaw nag mewn llefaru, ac yn fwy mewn gwneud nag mewn gwrandaw, fel mai gwneuthur, ac nid llefaru yw'r addoliad a gymeradwyir gan Dduw—'ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddi wrth y byd.'

Yn nesaf enwir dau rwystr i frawdgarwch, 'derbyn wyneb' a 'meistriaid lawer.' Y mae dynion yn rhy barod i roi'r blaen i rai anheilwng; ac y maent hwythau yn rhy chwanog i gymeryd y blaen; nes bod dynion distaw, diymhongar, yn llai amlwg a defnyddiol nag y dylent fod.

Y mae derbyn wyneb yn un o'r pethau mwyaf anghydnaws âg Ysbryd Crist, ac a ffydd ynddo. Nid cydraddoldeb gosod chwaith ydyw meddyginiaeth yr efengyl i'r gwahaniaeth rhwng gradd a gradd. Yn ol Sir Henry Main, y cyfreithwyr Rhufeinig bia'r drychfeddwl o gydraddolder, sydd er ys can' mlynedd mor boblogaidd yn Ffrainc. Y mae llwch Ymherodraeth Rhufain, eb efe, o'n cwmpas ni eto. Yr elfen o wir sydd yn y syniad yw, mai teg ydyw rhoi pawb ar yr un tir. Ond os golygir wrth gydraddolder, dorri pennau dynion i'w gwneuthur yr un faint, nid oes nac efengyl na synwyr o'i blaid. Nid yw'r deyrnas nad yw o'r byd hwn, ar un cyfrif, yn bychanu'r rhagor gwirioneddol sy rhwng dynion. Yn wir trwy roi pwyslais ar un gwahaniaeth mawr, dwfn, y mae hi'n diddymu gwahaniaethau mân. 'Yng Nghrist Iesu, nis gall enwaediad ddim, na dienwaediad, ond creadur newydd.' A chynifer ag a rodiant yn ol y rheol hon, tangnefedd arnynt, a thrugaredd, ac ar Israel Duw.* Aeth enwaediad a dienwaediad yn ddim, gan fyned-o'r creadur newydd yn bob peth. Nid yw o bwys yn y byd, o ba ystryd yn y ddinas, nac o ba bentref isel yn y wlad y daeth y gwahoddedigion; eto y mae un gwahaniaeth mawr rhwng pawb sydd i mewn, a phawb sydd allan—y wisg briodas.† Felly y mynnai Iago i ni drin y cwestiwn o gydraddolder, treiddio i lawr, trwy y pethau sydd ar y wyneb, at gariтor dyn a'i berthynas ef â Duw yng Nghrist. Gwaith Duw yn dewis y tlodion yn gyfoethogion mewn ffydd, dyna sydd yn dilewyrchu y fodrwy aur. Tra y gall gŵr mawr fanteisio ar gyfreithiau'r byd, y mae'r gyfraith frenhinol, a chyfraith rhyddid yn enwedig yn llwyr gondemnio dangos ffafraeth i'r uchelradd am mai uchelradd yw. Os amgen, pa ffydd yw ein ffydd yng Nghrist? Pwy a ddichon gael ei gadw trwyddi? Nid yw well na dywedyd wrth y newynnog, 'Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch ac ymddigonwch, heb roddi iddynt angenrheidiau'r corff;' dim gwell na ffydd yr ysbrydion aflan, a deimlent awdurdod Iesu Grist, heb roddi ond ufudd-dod gorfodol iddo; dim gwell yn wir, na chorff marw heb enaid. Trwy weithredoedd y perffeithir pob ffydd sy'n cyfiawnhau, pa un bynnag ai ffydd fawr Abraham, ai ffydd gyffredin Rahab.

Rhwystr arall i bobl fod yn frodyr a charu fel brodyr, ydyw 'Meistriaid neu *athrawon* lawer.' Cyfrifoldeb mawr a berthyn i waith athraw, i neb

*Gal. vi. 15-16. †Mat. xxii. 1-14.

feddwl ei ddeisyfu a'i gipio mewn ysbryd hunangar, dibris. Y mae pawb yn llithro; ac y mae'r rhai hyn yn dangos eu hanghymwysder trwy eu dull o wthio'u hunain i'r brig. Esgud i lefaru, esgud i ddigofaint ydynt. Nid ydynt wedi dysgu ffrwyno'r tafod, yr hwn sydd ei hunan yn ffrwyn ac yn llyw, i droi y dyn i gyd, ac yn dân i ennyn ei nwydau. Bendithiant Dduw a'r Tad, a melldithiant ddynion, bob yn ail. Ac heb law bod eu dull hwy o geisio'r blaen ar fai, y mae eu syniad am wir ragoriaeth o'i le. Pwy sydd ŵr doeth? Pwy sydd felly, heb law honni bod? Nid yw'r ddoethineb hon, sydd amlycaf ynddynt hwy, nid yw hon, beth bynnag, ddim yn disgyn oddi uchod. Ac fel eu syniad, y mae eu hysbryd hwy hefyd o'i le. Ysbryd y byd ydyw. Y mae yn mallu eu gweddïau, ac yn difwyno eu holl fuchedd. 'Oni wyddoch chwi fod cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw? . . . Nesewch at Dduw, ac efe a nesâ atoch chwi.'

Tery y ddwy adnod sy'n ddiweddglo'r rhanau hyn, yr un cyweirnod a'u dechreuad. Danghosant fod ysbryd barnu'n gilydd yn lladd ysbryd cadw'r ddeddf. 'Nid wyt ti wneuthurwr y gyfraith, eithr barnwr.'

Yn ddiweddglo i'r epistol i gyd cawn ddau rybudd i'r llwyddiannus, a dau gyngor i'r adfydus.

A bydolrwydd ac annuwiaeth calon y mae a fynno'r cyntaf o'r ddau rybudd. Nid dibris o ddynion yn unig ydyw'r llwyddiannus, pan ymollyngo efe o flaen temtasiynau'i sefyllfa, ond dibris o Dduw. Y mae rhywbeth mewn amgylchiadau clyd, sy'n gyrru dyn i anghofio mai Duw yw ei graig, ac mai'r Goruchaf Dduw yw ei waredydd. Fe ddychwel Iago, yn y fan yna, at yr ystyriaeth oedd ganddo yn y bennod gyntaf, wrth gymeryd testyn ei lythyr. 'Beth yw eich einioes chwi? Tarth yn wir ydych, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hynny'n diflanuu.'

Yna fe dry oddi wrth y perygl i ysbryd a chrefydd y dyn ei hun, sydd mewn cyfoeth, at bechodau cyfoeth yn erbyn cymdeithas—cronni i ddwylaw'r ychydig, trais a cham ar y naill law, a moethau llygredig ar y llaw arall, a gwaeth na'r cwbl, crynhoi nerthoedd cymdeithas, a hyd yn oed ei deddfau hi, yn erbyn y gwan.

O'r ddau gyngor sy'n dibennu'r llythyr, y mae'r cyntaf yn annog i amynedd. Nid trwy chwildroad, na thrwy wrthryfel, y daw ymwared, ond trwy waith graddol fel twf cnydau'r maes, ar y naill law, ac ar y llaw arall, trwy ddyfodiad y Barnwr. Dioddef ydyw hanes dynion goreu'r byd.

Yn ol yr ail gyngor, fe esgor amynedd, yma fel yn nechreu'r epistol, ar weddi. Y mae gweddi yn ymwared rhag tymer ddrwg, ac yn ymwared llythyrennol hefyd o'r blinderau sy'n ein gyrru ni i gwyno. A chwaneg, y mae maddeuant pechodau i'w gael trwy weddi, nid i ni'n hunain yn unig, ond i'n gilydd hefyd. Fe drodd Elias lanw eilunaddoliaeth yn ei ol trwy'r oruchafiaeth a gafodd yn ateb i'w weddi fawr. Gallwn ninnau, heb gwmpasu pethau mor fawr âg Elias, trwy droi pechadur oddi

wrth gyfeilliorni ei ffordd, gadw enaid rhag angeu, a chuddio lliaws o bechodau.

Ni a welwn fod yr epistol hwn yn un y buasai'r Testament Newydd yn dlotach hebddo. Ysgrif ydyw ar bwnc a ddaw fwyfwy i'r wyneb, pwnc y mae ei anhawsterau yn debyg o drethu dyfeisgarwch pob plaid yn y wladwriaeth, ac o ddyfod i'w benderfynu yn y diwedd at ddrws eglwys Dduw. Y mae'r agoriad i'r holl gwestiynau mawr dynion ym mherson a gwaith yr Arglwydd Iesu Grist.

## PENNOD V.

### Diwinyddiaeth Iago.

Yr ydym ni yn nyled yr epistol hwn, fel epistolau eraill, am lawer heb law y prif beth yr ysgrifennwyd ef er ei fwyn. Ac y mae dyddordeb neilltuol yng nghylch hwn, gan mai dyma'r unig lyfr sydd gennym o waith yr awdwr, fel y buasem ni, heb hwn, yn ddieithr i un wedd ar yr efengyl fel y pregethid hi yn yr oes honno.

At astudio rhagdybiau diwinyddol y llythyr, y cydymaith goreu, yn nesaf at y tair efengyl cyntaf, ydyw'r Apocrypha, 'Doethineb Jesus mab Sirach' yn enwedig, a 'Doethineb Solomon.' Y mae Plumptre yn ei esboniad wedi rhoddi llechres fanwl, yn dangos ôl darllen y llyfrau yna ar Iago. Digon yma fydd nodi rhai o'r esiamplau mwyaf hynod.

'Nac ameu ofn yr Arglwydd, pan fyddech mewn angen: ac na ddos ato ef â chalon ddau-ddyblyg.' Ecclus. i. 28, Iago i. 6-8.

'Bydd esgud i wrandaw pethau da,' Ecclus. v. 11, Iago i. 19.

'Na ddywed, Trwy waith yr Arglwydd yr euthum i ymaith: oblegid ni ddylit ti wneuthur yr hyn sy gas ganddo ef. Na ddywed, Efe a'm lluniodd i; oblegid nid rhaid iddo ef wrth ŵr pechadurus. Cas gan yr Arglwydd bob ffieidd-dra; ac nid da yw hynny gan y rhai a'i hofnant ef. Efe a wnaeth ddyn o'r dechreuad ac a'i gadawodd ef yn llaw ei gyngor; os mynni, i gadw'r gorchymynion, ac i wneuthur ffyddlondeb cymeradwy. Efe a osododd o'th flaen di dân a dwfr: estyn dy law at yr hwn a fynnych di. Y mae o flaen dynion einioes ac angeu; a'r hyn a fynno efe a roddir iddo ef. Oblegid mawr yw doethineb yr Arglwydd; ac y mae efe yn gryf o allu, ac yn gweled pob peth. Hefyd y mae ei olwg ef ar y rhai sy'n ei ofni; ac efe a ŵyr holl waith dyn. Ni orchymynnodd efe i wneuthur yn annuwiol; ac ni roddes efe gennad i neb i bechu,' Ecclus. xv. 11-20, Iago i. 13-15.

'Canys disgleirdeb y goleuni tragywyddol yw hi (Doethineb), difrycheulyd ddrych gweithrediad Duw, a delw ei ddaioni ef,' Doeth. vii. 26, Iago i. 23.

Ond i'r bregeth ar y mynydd y mae Iago fwyaf dyledus. O herwydd hyn yr arferir ei gyplysu ef fel dysgawdwr â'r Efengylwr Matthew. Felly y gwna Godet yn un; ond y mae rhai o feirniaid yr Almaen wedi sylwi fod dyfynion Iago'n debycach i'r ffurf sydd ar eiriau ein Harglwydd yn y cofnodion a ddilynai Luc. Tybed fod a fynno'r tynerwch mawr at dlodion a nodweddai Luc ac Iago, fel eu gilydd, rywbeth â hynny?

Gwawr datguddiad y Testament Newydd sydd yn Epistol Iago. Cof gennyf ddarllen yn rhywle, y gellid ei alw'n ddiweddaf o lyfrau'r Hen Destament, fel y gwelsom ei fod yn ol pob tebyg yn gyntaf o lyfrau'r Newydd. Ond os toriad gwawr sydd yma, y mae rhyw brydferthwch yn nhoriad y wawr nas gwelir ganol dydd. Newydd godi mewn cymhariaeth yr oedd yr haul ar brofiad Iago ei hun; ac y mae ei lythyr yn un o'r rhai goreu i'w rhoi yn llaw dynion sydd yn awr, fel y bu yntau unwaith, o herwydd rhyw ragfarnau a gawsant trwy draddodiad, neu fagwraeth, neu addysg, yn hwyrfrydig i weled gogoniant y Ceidwad mawr. Oddi eithr yr Iuddewon yn wir, nid yr Hen Oruchwyliaeth sy'n dal dynion yn gaeth heddyw; ond y maent yn debyg i Iago er hynny, gan eu bod, ar dir meddylgarwch cyffredin, neu ryw fath ar grefydd natur, wedi dringo yn ddigon agos at Iesu Grist i gael eu swyno gan ei Ysbryd a'i hanes, ond heb eu hennill yn ddisgyblion. Bu Iago am flynyddoedd yn y tir yna, yn methu gadael yr Iesu, ac eto'n methu ymroddi iddo. Cyrhaeddodd dir o ymddiried di-gryn o'r diwedd; ond fe'i gwnaeth ei brofiad blaenorol ef yn dra chymwys o arweinydd i rai y gwisga'u hanawsterau yr un wedd.

Chwaneg hefyd, hyd y gellir casglu, tyfu trwy ei anhawsterau a wnaeth Iago. Nid oes hanes iddo brofi ystorm o argyhoeddiad fel Paul. Ymddengys nad oedd awdurdodau yr hen grefydd wedi ei ddiarddel. Y mae rhai pobl a ymadawant â'u hen ragfarnau trwy lam i'r eithaf pellaf oddi wrthynt. Y mae eraill a newidiant eu tir yn raddol, braidd heb yn wybod iddynt eu hunain; ac nis gwybyddant gymaint y maent wedi ei symud nes troi o honynt yn ol ym mhen ysbaid i edrych ac ystyried. Un o'r rheiny oedd Iago; a braidd na ddywedai dyn mai yn Epistol Iago y dylai ambell un a fagwyd mewn teulu di-grefydd, neu mewn cylchoedd anffyddol, ddechreu darllen y Testament Newydd. Yr un peth a ddywedem ni am Bagan goleuedig; a byddai'r dywediad yn fwy gwir fyth am Iuddew yn chwilio am rywbeth mwy boddhaol na'i grefydd ei hun. Anawdd fuasai i etifedd traddodiadau pura'r byd Paganaidd, neu ddisgybl teg ei farn i'r athronwyr goreu, beidio gwrandaw ar Iago. Yr anhawster mawr gyd â llawer o'r dynion hyn yw, nid eu bod ym mhell oddi wrth deyrnas Dduw, ond eu bod mor agos nes bod yn cryn waith eu hargyhoeddi fod ganddynt ddim i'w ennill wrth ddyfod i mewn. Nid ydyw eu bucheddau yn ddrwg, na'i cydymdeimlad yn estronol i'r efengyl. Y mae llawer o honynt yn nes na hynny, wedi arfer dilyn moddion gras, a chymeryd dyddordeb ym mhethau teyrnas nefoedd, fel os do'nt hwy i roddi eu hunain i Fab Duw, dyfod a wnant, trwy gydnabod eu bod yn nes ato mewn gwirionedd o'r blaen nag y goddefai eu balchder neu eu rhagfarn iddynt feddwl eu bod. Anhawster brodyr yr Arglwydd ydyw eu hanhawster hwy. Os oes rhywun wedi llaesu ei afael ar yr efengyl fel trefn i greu dyn o newydd, ond yn dal i deimlo rhyw ymlyniad wrthi hi fel trefn i godi'r tlawd o'r llwch, a dyrchafu'r anghenus o'r domen, i'w gosod gyd â phendefigion; ac os mynnai y cyfryw gael ei roi ar ben y llwybr i wybod ffordd Duw'n fanylach, dechreued trwy ddarllen yr epistol hwn.

Ni olyga hyn, chwaith, nad oes gan Iago efengyl, ond yn unig ei bod hi yn y wedd hawddaf i ryw fath ar ddynion, plant rhyw fath o fagwraeth, gael gafael arni. Y mae'r epistol ei hun yn ein dysgu ni yn dra

eglur mai yn iachawdwriaeth y dyn, i ddechreu, y mae'r ateb boddhaol i'w gael i gwestiynau'r byd yng nghylch gwella anhwylderau cymdeithas. Pwnc Iago o hyd ydyw'r hyn a ddriwyd yn hapus iawn gan Mr. Griffith Ellis, mewn pregeth ar ddull yr efengyl o drin tlodion, nad oes dim modd gwella amgylchiadau'r dyn i bwrpas, ond trwy wella'r dyn. Fel y gwelsom yn y bennod o'r blaen, nid cynnyg Iago, i ddechreu beth bynnag, ydyw rhoi manteision materol—tai, a gerddi, a thiroedd—i werin y byd, er fod ei ddysgeidiaeth fe allai yn agor y cwestiwn hwnnw; ond nid yw yn ei gau. Yr hyn y rhydd Iago bwyslais arno yw, y dylai dyn fod yn ormod o ddyn, ac yn ormod o Gristion i'w amgylchiadau ei ddifetha. 'Y brawd o radd isel llawenyched yn ei oruchafiaeth.' Ni ddylai fod yn llai gŵr bonheddig am ei fod yn dlawd. Rhaid, fe allai, y bydd ôl y gegin a'r gweithdŷ ar ei ddwylaw; ond ni ddylai fod dim ar ei gymeriad. Ac os na ddylai'r gwas gymeryd ei ddifetha gan y gwasanaeth y mae ynddo, ni ddylai y neb y bo'i grefft yn un goethach, a'i amgylchiadau'n fwy o gysgod iddo, gymeryd ei ddifetha chwaith. Os ydyw'r gegin yn difetha llawer geneth o forwyn, y mae'r parlwr, cyn amled a hynny, yn difetha'r feistres. Paham y rhaid i hynny fod? Pa raid i ddyn, o herwydd digwydd ei osod wrth y bwrdd cyfnewid, neu yn yr athrofa, fagu balchder a rhodres? Fe ddysg yr efengyl iddo yntau, mai dyrchafiad gwneud ydyw ei ddyrchafiad. Llawenyched gan hynny ei fod wedi ei dynnu i lawr; a bydded gydostyngedig â'r rhai iselradd. Gwaded, yn enw Iesu Grist a'i groes, y clawdd terfyn sydd rhyngddo a hwy. Fe wna addysg beth, ac fe wna crefydd fwy, i ddwyn cynghorion Iago i ben, i olchi ymaith lediaith yr amgylchiadau oddi ar dymer ac ysbryd y dyn. Y mae Iago'n cyhoeddi'n ddi-floesgni mai yn iachawdwriaeth y dyn y mae iachawdwriaeth cymdeithas hefyd.

Y mae yr iachawdwriaeth hon, yma fel ym mhob man arall drwy'r Testament Newydd yn gwbl o ras, o wir ewyllys Duw. Y mae trwy y gair hefyd, yr impiedig air, yr hwn a ddichon gadw ein heneidiau. Maddeuant, trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn barn, ydyw deddf fawr ei gweithrediad hi. Ac, yn ddiweddaf, y mae gan ddynion lawer i'w wneud at ddwyn eraill i afael yr iachawdwriaeth hon, at droi pechadur oddi wrth gyfeiliorni ei ffordd. Yn hyn oll y mae Iago ar brif-ffordd gwirionedd yr efengyl; ond dweud yr oeddys fod ei ddull ef o iawn droedio at y gwirionedd, dewis llwybrau ei feddwl ef at y brif-ffordd hon, yn rhai a ddylai demtio hyd yn oed y dyn anianol i fyned ar ei ol.

Cawn esiampl o ddyn y tu allan i deyrnas Dduw, yn ei fan goreu, yn yr ysgrifennydd hwnnw a ganmolwyd gan Iesu Grist am ateb yn synhwyrol.* Dengys yr atebiad o eiddo'r Iesu, a dderbynnir mor ddiolchgar gan hwn, yn nghyd â'i ychwanegiad yntau ato, i ba le y cyrraeddasai Iuddew cydwybodol, a wnelai ddefnydd gonest o'i fanteision, heb ddyfod at Grist o'r tu allan i'r gwersyll, yn gyfangwbl; a dyn fel yna wedi dyfod at Grist, ac yn ysgrifennu dan gyfarwyddyd Ysbryd Crist, ydoedd Iago. Fe aethai cyn belled i gyfeiriad teyrnas ysbrydol y Messiah, ag y gallasai Iuddewiaeth oleuedig ei ddwyn, ac yna rhoes gam i mewn i'r deyrnas ei hunan.

Duw yn un, caru Duw, a charu'n cymydog yn fwy na'r holl boeth-

* Marc xii. 28-34.

offrymau a'r aberthau—dyna rai o brif byneiau cyffes ffydd Iago hefyd. 'Gwasanaeth crefyddol pur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad yw hyn: *nid canu mawl, nid gweddïo, llawer llai aberthu, a chadw seremoniau'r hen gyfamod*, ond ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw'i hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd.' Câr dy gymydog ydyw'r gyfraith frenhinol. Ar hyd y llwybr yma, y mae'n amlwg, y daeth Iago i'r Jerusalem honno uchod, yr hon sydd rydd gyd â'i phlant. Fe dyfodd trwy yr Hen Oruchwyliaeth trwy roi pwyslais ar ei phethau goreu hi. Yr oedd y pwyslais a roddai ar bethau trymaf y gyfraith—barn, trugaredd, a ffydd—wedi gweddnewid y gyfraith ei hunan, a pharotoi ei feddwl ef at bethau gwell. Aeth yr hyn a fuasai gynt yn uchaf yn ris bellach, i ddringo'n uwch drachefn. 'Ni ogoneddwyd yr hyn a ogoneddwyd yn y rhan hon, o herwydd y gogoniant tra rhagorol.' Ag arfer iaith Coleridge, fe droes pethau mwyaf mewnol ac ysbrydol yr hen gyfamod yn bethau nesaf allan i feddwl goleuedig y disgybl hwn. Y mae sylw Coleridge yn werth ei ddyfynu. Son y mae am y gair a gyfieithir 'crefydd' yn Iago i. 27. Gair ydyw hwnnw yn golygu crefydd yn ei defodau addoliadol, ffurfwasanaeth crefydd felly. 'Am wasanaeth allanol yr hen grefydd gynt—defodau, seremoniau, a gwisgoedd seremoniol yr hen ddeddf—moesoldeb oedd eu sylwedd hwy. Hwy oedd y llythyren a moesoldeb oedd yr ysbryd. Hwy oedd y ddameg a moesoldeb oedd yr ystyr. Ond moesoldeb ei hun yw gwasanaeth a defodau, efe ydyw addu iad allanol crefydd Crist. . . . Goleuni ydyw ei dillad, a chyfiawnder ydyw ei gwisg hi.'*

Ac fel y triniai Iago y gyfraith, felly hefyd yr edrychai efe ar y proffwydi a Llyfrau Doethineb. Eu tynnu y mae o'u plygion, dweud mewn diarhebion miniog y pethau yr oedd Llyfr Job, a'r rhan olaf o Lyfr y Proffwyd Esaiah, yn ymyl eu dywedyd. 'Cyfrifwch yn bob llawenydd, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau.' 'Dedwydd yr ydym yn gadael y rhai sydd ddioddefus.' Fe allai fod y proffwydoliaethau am was dioddefus Jehofah yn ei feddwl, wrth alw sylw at y proffwydi fel esiamplau o ddioddef blinder ac o hirymaros.

Y mae mwy nag un dull o edrych ar yr Hen Destament yn y Newydd. Weithiau golygir yr Hen Destament yn drefniant i ysgrifennu llinellau'r addewid yn anghenion y byd. I Paul, er esiampl, y mae'r bylchau yn yr hen drefn llawn cyn gyflawned o addysg a'r pethau a ddatguddiwyd ynddi'n eglur. 'Y ddeddf yw ein hathraw ni at Grist.'† Waith arall cyfundrefn o ragfynegiadau ydyw'r Hen Destament, megis gan Pedr a Matthew, ac ym mhregethau cyntaf Paul. Yn Llyfr y Datguddiad wedyn, ac yn yr Epistol at yr Hebreaid, cyfundrefn o gysgodau oedd yr Hen Oruchwyliaeth. Nid yw Paul yn anghynefin â'r dull yma chwaith. Y mae yntau'n edrych ar lawer o'r defodau ac o'r hanesion fel cynifer o wersi dangos ar gyfer mabandod yr eglwys. Y mae ffordd Iago o drin yr Hen Destament, mewn rhyw ystyr, yn fwy athronyddol na'r un o'r rhain. I'w feddwl ef yr oedd Cristnogaeth yno yn ei hadau, nid ei llun hi mewn alegori, nid cysgod o honi, na rhagddywediad am dani, ond hi ei hunan o ran ei hegwyddorion. Golygiad yr Arglwydd Iesu yn y bregeth ar y mynydd, ydyw ei olygiad yntau. 'Na thybiwch fy nyfod i dorri y

* *Aids to Reflection. Aphorism* 23.
† Gal. iii. 24.

gyfraith neu y proffwydi; ni ddeuthum i dorri ond i gyflawni.'* Cadwai Iago ei hun y ddeddf yn selog; eithr ni fynnai, fel y gwelsom, ei gosod hi ar Genedl ddynion; a chyfrifai fod pobpeth hanfodol ynddi i'w gael, wedi ei berffeithio yn yr efengyl. Cawn ganddo ef enaid dysgeidiaeth y Salmau a'r proffwydi, a'r Apocrypha, ar weddi, ar falchder, a rhagrith, a dirywiad crefyddol. Gwel ei lygad ysbrydol ef rybuddion y proffwydi rhag peryglon proffes o grefydd—siarad yn lle gwrandaw, gwrandaw yn lle gwneuthur, credo heb garitor—mewn goleuni newydd iawn. Y mae'r dull yma o drin yr Ysgrythyrau Hebreig yn cael llai o'i arfer na braidd yr un. Os dilynwn ni, yn bregethwyr ac yn athrawon, ddull Iago yn hyn o beth, ni a agorwn faes sydd i gryn raddau heb ei drin. Dyma ddull Olifer Cromwell o ddefnyddio'r Proffwyd Esaiah, gweled amgylchiadau tebyg yn ddatguddiad o egwyddorion tebyg, ac yn ol George Adam Smith, Cromwell oedd yr esponiwr goreu a gafodd Esaiah erioed.

Ond y mae Iago'n awdurdod ar bethau sy'n ymddangos am y tro cyntaf yn yr efengyl, yn gystal a'i fod y crynhöwr goreu ar addfed ffrwyth yr oruchwyliaeth o'r blaen. Y mae yma bynciau'n perthyn yn hollol i'r Testament Newydd, rhai a gymerir yn ganiataol ym mhob man, nad oes ddehongliad athronyddol arnynt mewn un man ond yma. Fe ymgynyg dwy esiampl ar unwaith, ac nid ydynt ond esiamplau—y goleu a ddyry'r efengyl ar bechod, a'r berthynas rhwng maddeuant a maddeugarwch.

Peth a gymerir yn ganiataol ym mhob golygiad teilwng am y Goruchaf yw, nas gall efe fod yn awdwr pechod, ond pwnc na chawn ni yn unlle cyn grynhöed ysgrythyr arno ag a geir mewn rhyw hanner dwsin o adnodau yn y llythyr hwn. Gwelsom fod rhan o'r hyn a ddywedir yma'n adlais o athrawiaeth mab Sirach, ond bod Iago yn ol ei arfer yn rhoi mwy o'i syniad ei hun nag o ddelw'r awdwr a awgrymodd y syniad iddo. Eithr y peth sydd, yn ei ddysgeidiaeth ef ar demtasiynau, yn perthyn yn neilltuol i'r Testament Newydd, ydyw yr ateb a rydd yr efengyl, yn anad un gyfundrefn mewn bod, i'r hen ymholiad dyrys, pa fodd y goddefwyd i bechod ddyfod i mewn, os yw Duw yn rhy bur i fod yn gyfrifol am dano. Y bwriad o achub sy'n cwbl glirio cymeriad yr Anfeidrol yng ngwyneb yr ymholiad hwn. Cymerir hynny'n ganiataol mewn aml i fan gan yr apostolion, megis ym mhregeth Paul ar Areopagus; ond ni fynegir mo honno mor groew, ac mewn cyn lleied o gwmpas, yn un man ag y gwneir gan Iago. 'Na ddyweded neb pan demtier ef, gan Dduw y'm temtir. . . . O'i wir ewyllys yr ynillodd efe nyni, trwy air y gwirionedd, fel y byddem ryw flaenffrwyth o'i greaduriaid ef.'

Yr engraifft arall oedd y berthynas rhwng maddeuant a maddeugarwch. Yn awr nid oes yr un pwnc a gyhoeddir yn gliriach gan y Gwaredwr. 'Maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr.' Ond y mae miloedd o Gristnogion efengylaidd, yn eu hawydd i ymgadw rhag gwneud dim ynom ni yn sail maddeuant, yn gwyrdroi geiriau plaen y weddi a adroddir ganddynt bob dydd, i olygu fod y neb y maddeuir iddo yn sicr o faddeu i eraill, lle y dywed yr Arglwydd Iesu yn bendant, 'Oni faddeuwch, ni faddeu eich Tad i chwithau.' Nis gall fod dim eglurach; eto nid oes neb o'r ysgrifenwyr sanctaidd wedi gadael i ni esboniad pa fodd y mae hynny, ond Iago. Gwel isod ar ii. 12-13. Y mae maddeu yn amod

* Mat. v. 17.

derbyn maddeuant, am fod maddeuant yr efengyl yn fater o ddeddf. 'Felly dywedwch ac felly gwnewch, megis rhai a fernir wrth gyfraith rhyddid. Canys barn ddidrugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth drugaredd.' 'Y mae trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn barn.'

Ni a welwn gan hynny mor bell o fod yn wir ydyw'r syniad sy gan lawer, mai ychwanegiad dibwys ar gynnwys yr Ysgrythyrau ydyw'r llyfr bychan yma. Y mae'n syn gweled awdurdod mor uchel a Dr. Horton yn cyd-daro i fesur â barn Luther, nid yn wir fod yr epistol yn epistol gwellt, ond ei fod, o'i gyferbynnu â rhyw rannau o'r gyfrol sanctaidd, yn debycach i bregeth dda nag i ysgrythyr. Y gwir yw fod Epistol Iago'n llygad y ffynnon ar rai o wirioneddau mawr y Datguddiad Dwyfol. Yr ydym mor ddyledus iddo am eglurhad ar gyfraith rhyddid, neu ar ffydd a gweithred-oedd, ag ydym i Paul am yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd, neu i Ioan am yr athrawiaeth yn nghylch Person yr Arglwydd Iesu Grist.

EPISTOL CYFFREDINOL

# IAGO YR APOSTOL.

## PENNOD I.

**IAGO, gwasanaethwr Duw a'r Arglwydd Iesu Grist, at y** 1
**deuddeg llwyth sydd ar wasgar, annerch. Cyfrifwch yn bob** 2
**llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedig-**

---

### RHAGLITH YR EPISTOL (I. 1-18).

#### I. 1.—Y Cyfarchiad.

1. **Iago, gwasanaethwr Duw a'r Arglwydd Iesu Grist.** Gwell dilyn esiampl y Cyfieithiad Saesneg Diwygiedig, a chadw'r gair 'gwasanaethwr' neu 'was,' ond cofio mai 'caethwas' yw ei ystyr yma ac mewn llawer o fannau yn y Testament Newydd.

**At y deuddeg llwyth sydd ar wasgar.** Ag arfer gair yr Apocrypha Cymraeg (Judith v. 19), *yn y Wasgarfa.* Yr unig fantais ar gyfieithu felly fyddai cofio i ni fod y gair yn fath o enw priod a roid ar ddosbarth gweddol bendant. Nid rhyw Israeliaid a ddigwyddent fod oddi cartref a olygir yn hollol. Gwel Rhaglith.

#### 2-18.—Profedigaethau.

Gair mawr y darn yma yw 'profi' neu 'demtio.' Cyn myned at y dosbarth hwnnw o brofedigaethau sydd yn destyn yr Epistol, dywed yr awdwr ychydig eiriau ar brofedigaethau yn gyffredinol. Gellir ystyried yr ymdriniaeth yn dair rhan:—Llawenydd mewn profedigaethau (2-8), y brawd o radd isel a'r cyfoethog (9-12), 'Na ddyweded neb pan demtier ef, Gan Dduw y'm temtir' (13-18).

#### 2-8.—*Llawenydd mewn profedigaethau.*

2. **Cyfrifwch yn bob llawenydd** *(yn llawenydd i gyd),* **fy mrodyr.** Y mae y gair am 'lawenydd' o'r un gwreiddyn a'r gair 'annerch' yn niwedd yr adnod o'r blaen. Cyfarch llawen oedd cyfarch gwell yn yr iaith honno, sef cyfarch trwy arfer rhyw air yn golygu llawenydd, fel pe dywedasai Iago, 'Gwasanaethwr Duw . . . at y deuddeg llwyth . . . llawen y bôch. Cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau.' Dyma un o hoff ddulliau Iago

3 aethau; Gan wybod fod profiad eich ffydd chwi yn gweith-
4 redu amynedd. Ond caffed amynedd *ei* pherffaith waith; fel
5 y byddoch berffaith a chyfan, heb ddiffygio mewn dim. O
bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, gofyned gan Dduw,
yr hwn sydd yn rhoi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod;

---

o gysylltu brawddeg â'i chyfnesaf, cipio gair o'r frawddeg o'r blaen i gychwyn y frawddeg newydd.

3 Nid er eu mwyn eu hunain chwaith y mae profedigaethau yn destyn llawenydd, ond o herwydd eu lle yng nghynllun Duw i'n perffeithio ni. **Gan wybod fod profiad eich ffydd chwi yn gweithredu** (*yn gweithio*) **amynedd.** Agorir yr un ystyriaeth yn helaethach yn 1 Pedr i. 6-9; a'r un meddwl sydd gan Paul yn Rhuf. v. 3-4.

4. **Ond caffed amynedd ei pherffaith waith.** Pwyslais ar y gair 'perffaith.' Cyn y gwelwn ni werth amynedd, a chyn y bydd y profi hwnnw ar ein ffydd ni sydd yn gweithredu amynedd yn fater o lawenydd, rhaid cael prawf teg ar y cynllun dwyfol, rhaid i ffydd ac amynedd gael amser i ddwyn eu haddfed ffrwyth. Nid yw ychydig o ddim yn brawf teg ar ei effeithiau: ychydig o ddysg, ychydig o ymarferiad corfforol, ychydig o gydnabyddiaeth a'r byd. Pan fyddys wedi cael hir brawf ar beth y gwelir ei wir werth a'i wir dueddiad. Lle caffo amynedd ei pherffaith waith y gwelir hi yn werth ei phrynu'n ddrud a'i meithrin trwy amryw brofedigaethau.

**Fel y byddoch berffaith.** H.y., *yn llawn dwf.* 'Bwyd cryf a berthyn i'r rhai perffaith' (Heb. v. 14).

**A chyfan.** Cyfan ym mhob peth a berthyn i wir ddisgybl Iesu Grist. *Heb ddim ar ol.*

**Heb ddiffygio mewn dim.** Yr un gair ydyw hwn ag sydd yn nechreu adn. 5; ac er mwyn cadw bachiad y brawddegau gwell rhoi rhyw air y gellir ei arfer yn y ddwy:—'heb eisieu dim. Eithr o bydd ar neb o honoch eisieu doethineb,' neu 'Heb ddiffyg mewn dim. Eithr o bydd ar neb ddiffyg doethineb.'

5. **O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb.** Yn y Saes. Diw. rhowd 'eithr' i mewn yma; ond gwnelsai 'ac' y tro bron cystal. Geiryn pur anawdd ei gyfieithu sydd yn yr adnod, yn golygu rhywbeth rhwng cyferbyniad ac ychwanegiad. Hwn sy'n cyfrif yn aml am fod gwahaniaeth weithiau yn nechreu brawddeg rhwng y Testament Cymraeg a'r un Saesneg, 'ond' yn un, 'ac,' neu weithiau ddim o gwbl, ar ei gyfer yn y llall. Nid oes dim gair am dano yma yn y Cymraeg na'r Saesneg A. Y meddwl yw, 'Os bydd profiad eich ffydd chwi yn gweithredu amynedd, ac amynedd yn cael ei pherffaith waith, ni raid i chwi fod yn fyr o ddim; ac os bydd rhywun yn fyr o ddoethineb, y gras mawr, goruchel, addfed hwnnw, y mae y ffordd i'w gael yn seml iawn, dim ond gofyn.'

**Gofynned gan Dduw, yr hwn sydd yn rhoi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod, a hi a roddir iddo ef.** Rhoi yn haelionus: ail ystyr i'r gair ydyw 'haelionus.' Ei ystyr gyntaf, a'i ystyr gyffredin yn y ffurf sydd arno yma, yw, *syml*, *diamodol*. Y mae rhoi

a hi a roddir iddo ef. Eithr gofyned mewn ffydd, heb 6
ammeu dim: canys yr hwn sydd yn ammeu, sydd gyffelyb i
dòn y môr, a chwelir ac a deflir gan y gwynt. Canys na 7
feddylied y dyn hwnnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd.
Gwr dau-ddyblyg ei feddwl *sydd* anwastad yn ei holl ffyrdd. 8

---

Duw yn rhoi glân, rhoi pur, rhoi heb fod dim mewn golwg wrth roi i dynnu oddi wrth werth y rhodd. Ac fel nad oes ragolwg ar ddim mantais yn ei difwyno hi, felly nid oes yma chwaith ddim dyfetha'r gymwynas trwy ddannod yr hyn a fu. Rhoi pur, a rhoi heb ddannod.

6. **Eithr gofynned mewn ffydd, heb ameu dim.** O ran y rhoddwr ni byddai eisieu gofyn o gwbl i'w ennill ef i roi; ond rhaid gofyn er mwyn bod mewn agwedd ysbryd addas i dderbyn; ac at fedru derbyn y bendithion uchaf gan Dduw nid pob gofyn a wna'r tro: rhaid gofyn mewn ffydd. Fe rydd efe lawer o bethau heb eu gofyn, gan gymaint o fendithion sydd nad oes eisieu cydweithrediad ewyllys dyn i'w wneyd ef yn etifedd o honynt; ond am y bendithion mwyaf ysbrydol, yn enwedig am ddoethineb, y bennaf o honynt oll, nis gellir eu meddu o gwbl heb fod y dyn o lwyrfryd calon yn eu dymuno, ac yn dal i'w dymuno. Rhaid iddo eu gofyn gan gredu y bydd iddo eu derbyn, ac felly, gan ei osod ei hun yn yr agwedd briodol i'w derbyn. Y mae dal i'w dymuno hwy yn bwysig, fel y dengys y geiriau nesaf.

**Canys yr hwn sydd yn ameu sydd gyffelyb i don y mor, a chwelir ac a deflir gan y gwynt.** *A yrrir gan wynt, ac a chwythir.* Cyfieithir y gair 'ameu' yn 'betruso' yn Rhuf. xiv. 23; ac er mai 'ameu' yw'r cyfieithiad goreu, y mae iâs o'r ystyr o betruso hefyd yn y gair. Ffrwyth ameu a ddaw'r fendith ai peidio ydyw anwadalwch ysbryd. Wrth fethu dal i adeiladu ar y disgwyliad am dani fel gobaith diogel, fe baid y dyn ag ymddarpar ar ei chyfer hi, ac fe lesgâ y dymuniad am dani; a buan yr eir i geisio ymdaro hebddi. Meddylir weithiau am ei chael; ond y mae yr amheuon yn ei chylch wedi parlysu pob ymdrech, ac ansefydlogi'r enaid, ei daflu at drugaredd y gwynt.

7. **Canys na feddylied y dyn hwnnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd. 8. Gwr dau-ddyblig ei feddwl, anwastad yn ei holl ffyrdd.** Gwell heb y 'sydd,' oblegid parhad o'r frawddeg sy'n adn. 7 yw adn. 8: darluniad pellach o'r 'dyn hwnnw.'

**Gwr dau-ddyblyg ei feddwl.** *Gwr dau enaid,* un y rhaid gwneud dau ddyn o hono i fedru deall troion cymysg ei fuchedd; yn gofyn peth gan Dduw, ac yna'n colli pob hyder y caiff efe ei ddymuniad, nes bod yr awydd am dano yn llacio'i afael ar y dyn. Y mae ar hwn ofn ei weddïau ei hunan. Meddwl o'r Apocrypha ydyw hwn (Ecclus. i. 28). 'Nac ameu ofn yr Arglwydd, pan fyddech mewn angen; ac na ddos ato ef a chalon ddau-ddyblyg:' calon weithiau fel hyn ac weithiau fel acw. Cyn y gellir etifeddu'r bendithion y mae doethineb yn goron iddynt, rhaid ennill yr holl ddyn yn sefydlog i'w dymuno. Dyma'r rhagor mawr rhwng bendithion natur a bendithion gras. Duw sy'n rhoddi'r naill a'r llall; ond y mae y bendithion sy'n dod i ni wrth naturiaeth yn rhai y gellir eu cael heb eu gofyn, lle nas gellir mwynhau y lleill o gwbl heb gydweithrediad ewyllys

9 Y brawd o radd isel, llawenyched yn ei oruchafiaeth: A'r
10 cyfoethog, yn ei ddarostyngiad: canys megis blodeuyn y

---

dyn; ac y mae graddau'r mwynhad yn troi ar fywiogrwydd y cydweithrediad hwnnw. Fe ellir gofyn bendithion natur hefyd o ran hynny; ond, 'Yr hwn sydd yn gofyn sydd yn derbyn' yw deddf y byd ysbrydol.

*Ffydd, amynedd, doethineb.*

Enwir yma dri gras mawr—ffydd, amynedd, doethineb: tebyg i ffydd, gobaith, cariad gan Paul. Yn 2 Pedr i. 5-7, ceir ffydd, amynedd, cariad ymhlith y grasau a grybwyllir. Yn y Llythyr at yr Hebreaid hefyd (Heb. vi. 10-12) ceir cariad, ffydd, amynedd, yn ymyl eu gilydd. Dywed Plumptre fod doethineb yn Epistol Iago bron yr un peth a chariad yn ysgrifeniadau Paul. Y mae hi yn llenwi yr un lle, bid a fynno. Cariad yw y gras mwyaf gan Paul; a doethineb y gras mwyaf gan Iago. Ond ffydd ydyw y gras cyntaf, gwreiddyn y lleill i gyd, gan holl ysgrifenwyr y Testament Newydd, Ioan a'r cwbl; ac nid yw Iago yn eithriad. (Gwel ar ii. 14-26). Cynyrchion ffydd, neu agweddau ar ffydd, ydyw'r grasusau i gyd. Beth yw amynedd yn yr adnodau hyn ond ffydd wedi ei phrofi? Nid oes eisieu dim ond dal i weithredu ffydd dan amgylchiadau anhawdd na ddaw amynedd. Dyna ydyw hanfod amynedd, o ran hynny. Ac nid oes eisieu dim wedyn at fod yn berffaith, ond i amynedd gael ei pherffaith waith. Digon o ffydd a wna amynedd; a digon o amynedd a wna berffeithrwydd. Ac nid yw 'doethineb' Iago fawr lai nag enw arall ar berffeithrwydd. Felly ffydd, o'i phrofi, sy'n magu amynedd; a ffydd ac amynedd gyda'u gilydd sydd yn cynyrchu doethineb. Rhaid ei gofyn hi mewn ffydd, a honno yn ffydd wedi tyfu i'r ffurf o amynedd, wedi meddiannu, a gwastatau, a sefydlogi yr holl ddyn. (Gwel eto ar iii. 17). Gwasanaeth y profedigaethau ydyw rhoi modd i ffydd gynyddu yn ddoethineb.

9-12.—*Tlawd a chyfoethog.—Testyn y Llythyr.*

9. Y brawd o radd isel, llawenyched yn ei oruchafiaeth: 10. A'r cyfoethog yn ei ddarostyngiad. Dyma fater yr epistol; a dygir ef i mewn yma fel siampl at bwrpas yr awdwr o'r profedigaethau y soniasai am danynt. Fel pe dywedasid, 'Llawenychwch, yn mysg pethau eraill, yn y brofedigaeth sy'n dod i chwi o'ch safle yn y byd.' Y mae hon yn un o'r rhai mwyaf rhwystrus, nid o ran ei maint, ond o ran ei bod yn gwasgu arnoch o hyd. Nid ydych byth braidd yn cael llonydd ganddi. Y mae hi fel awyr drom, fel hinsawdd lethol, ddigalon, o'ch deutu yn wastad. Eto y mae modd troi hon yn destyn llawenydd, ïe, yn destyn ymffrost orfoleddus, oblegid dyna ystyr y gair 'llawenyched' yn yr adnod hon. Yr un ydyw a'r gair a gyfieithir 'ymffrostio' yn Gal. vi. 14, a 'gorfoleddu' yn Rhuf. v. 3-11. Y mae hwn i fod yn orfoledd mewn peth croes i'r amgylchiadau. 'Y brawd o radd isel llawenyched yn ei uchafiaeth, *yn ei fonedd, yn ei safle uchel;* a'r cyfoethog yn ei ddarostyngiad.' Dylai teimladau calon dyn fod yn wrthnaws i'w amgylchiadau cyn belled ag y mae yr amgylchiadau yn brofedigaeth iddo. Rhaid fod ganddo o'i fewn rywbeth i ladd y gwenwyn sydd ynddynt.

Ond nis gall teimlad fyw arno'i hun. Nis gallwn roi bod i deimlad fel a fynnom. Nis gallwn wylo pan y mynnom, na chwerthin o ddifrif chwaith.

glas-welltyn y diflanna efe. Canys cyfododd yr haul gyd â 11
gwres, a gwywodd y glas-welltyn, a'i flodeuyn a gwympodd,
a thegwch ei bryd ef a gollodd: felly hefyd y diflanna y
cyfoethog yn ei ffyrdd. Gwyn ei fyd y gwr sydd yn goddef 12
profedigaeth: canys pan fyddo profedig, efe a dderbyn goron
y bywyd, yr hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant ef.
Na ddyweded neb, pan demtier ef, Gan Dduw y'm temtir: 13

---

Rhaid i deimlad fyw ar feddwl; ac er mwyn gallu teimlo'n wahanol i'r fel y buasai'r amgylchiadau yn peri, rhaid i ddyn ddewis testynau ei fyfyrdod o gyfeiriad croes i'w amgylchiadau. A dyma ddau feddwl, un i'r tlawd ac un i'r cyfoethog, yn siamplau o'r hyn sydd gan yr efengyl i'w ddweyd wrth bob gradd:—'Megis blodeuyn y glas-welltyn y diflanna efe,' i'r cyfoethog; a 'Gwyn ei fyd y gŵr sydd yn goddef profedigaeth,' i'r tlawd.

11. **Canys cyfododd yr haul gyda gwres.** Neu, fe allai, *gyda phoethwynt.* **A gwywodd y glas-welltyn.** H. y., 'Gwywodd yr haul y glas-welltyn.' **A'i flodeuyn a gwympodd, a thegwch ei bryd ef** (cyfieithiad rhagorol) **a gollodd: felly hefyd y diflanna y cyfoethog yn ei ffyrdd.** (Gwel Es. xl. 6-8; 1 Pedr i. 24-25; Ps. ciii. 15-17). Myfyrio ar fyrdra oes ac ar waeledd pob daearol ogoniant ydyw'r ffordd i'r cyfoethog orchfygu ei brofedigaeth ef. Y mae honno yn brofedigaeth, ac yn un beryclach lawer pryd na phrofedigaeth y tlawd; ond am y tlawd y byddwn ni'n arfer cyfrif ei fod mewn profedigaeth; ac arno ef y mae llygad yr awdwr yn adn. 12.

12. **Gwyn ei fyd y gwr sydd yn goddef profedigaeth.** Cymharer gwynfydau y bregeth ar y mynydd.

**Canys pan fyddo profedig.** Y gair sydd yn 2 Tim. ii. 15, 'Bydd ddyfal i'th osod dy hun yn brofedig gan Dduw.'

**Efe a dderbyn goron y bywyd, yr hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant ef.** Nid nad oes fedd i'r tlawd, a choron i'r cyfoethog; ond dylai pob un o'r ddau ddewis y testynau myfyrdod rheitiaf iddo ef; ac er mwyn i'r naill a'r llall gael o'i fewn rywbeth i orbwyso'i amgylchiadau, meddylied y tlawd lawer am ei goron a'r cyfoethog am ei fedd.

13-18.—'*Na ddyweded neb pan demtier ef, Gan Dduw y'm temtir.*'

Y mae y cymal cyntaf o adn. 13 yn cynnwys pwnc yr adran hon: **Na ddyweded neb pan demtier ef, Gan Dduw y'm temtir.** Yr oedd peth temtasiwn i ddweyd hynny, i ryw fath o ysbryd beth bynnag, yng nghenadwri'r adnodau o'r blaen: 'Cyfrifwch yn bob llawenydd . . pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau. . . . Gwyn ei fyd y gŵr sydd yn goddef profedigaeth.' Peth y gallai y dyn anianol ei ddweyd yng ngwyneb hynny ydyw hwn: 'Os gall Duw drin profedigaethau mor dda i gyraedd ei ddybenion ei hun, onid y tebyg yw mai efe sydd yn eu peri?' ac i ateb, neu, a siarad yn fanylach, i achub blaen y ddadl yna, y daw adn. 13-18 i mewn. Gwarchod yr ydys yn yr adnodau yna rhag y camddefnydd y gellid ei wneyd o athrawiaeth yr adnodau o'r blaen. Dal y ddau bwnc gyda'u gilydd sy'n anawdd; fod llywodraeth yr Anfeidrol yn

canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn
14 temtio neb. Canys yna y temtir pob un, pan y tynner ef,

---

llwyr, a bod ei gymeriad yn berffaith hefyd. Nid oes dim modd addoli'n iawn heb gofio'r ddau. Rhaid i ni feddwl am Dduw heb ddim terfyn i'w awdurdod, ac eto heb gwmwl ar ei ddaioni, heb ei wneuthur ef mewn un modd yn gyfrifol am ddrygioni ei greadur.

13. **Na ddyweded neb pan demtier ef, Gan Dduw y'm temtir.** Da y gwnaeth y cyfieithwyr, am unwaith, yn newid y gair, rhoi 'temtio' yma yn lle 'profi' neu 'brofedigaeth' yr adranau o'r blaen; oblegid, er mai yr un yw y gair, y mae ei ystyr yn newid. Y mae fod amryw o ieithoedd y byd yn arfer dau air yn dangos hynny. Y mae dau fath o brofi, profi ag iddo amcan da, a phrofi ag iddo amcan drwg. Cyn belled ag y mae y bwriad yn dda, Duw bia'r profi; ond cyn belled ag y mae yn ddrwg, nid yw Duw mewn un modd yn gyfrifol am dano. Gall y ddau fwriad fod yn yr un demtasiwn. Felly y maent yn aml; ond rhaid er hynny eu hystyried ar wahân: awydd y temtiwr i'n darostwng ac awydd Duw i'n cryfhau. Am demtio â drygau y sonia'r adnod hon, fel y dengys y cymal diweddaf o honi; ac o'r temtio hwnnw nis gall efe fod mewn un modd yn euog.

**Gan Dduw y'm temtir.** Dywed Mayor fod y 'gan' yma yn golygu'r achos cyntaf, gwreiddiol. Dyna rym y gair. Er na chyhuddai neb braidd Dduw o fod yn temtio'n amlwg, eto ceir y pechadur weithiau'n ddigon beiddgar i haeru fod raid mai ar y Goruchaf y mae'r bai.

Pedair ystyriaeth sydd yn yr adran dan sylw i ddangos nad yw yr achos o'n temtio ni yn Nuw: yr hyn ydyw Duw, yr hyn ydyw dyn, daioni Duw yn ei ragluniaeth, a daioni Duw yn ei ras.

(1) Yr hyn ydyw Duw. **Canys Duw nis gellir ei demtio a drygau; ac nid yw efe yn temtio neb.** Dyna ddau beth sydd bob amser yn canlyn eu gilydd, a hynny o angenrheidrwydd: cael ei demtio, a medru temtio arall. Rhaid i hynny fod pan gofiom ni beth yw temtio. Dyna fyddwn ni yn ei ddeall wrth demtio, onide? rhoi gwedd dda ar ddrwg, gwneud y drwg yn llai drwg nag ydyw. Yn awr, cyn y gall neb ddangos gwedd felly ar ddrwg i arall, rhaid ei fod wedi ei gweled hi rywdro ei hunan. Pa un bynnag a gafodd efe agoriad llygad wedyn ai peidio, rhaid ei fod yn gwybod oddi wrthi, rhaid fod golwg fel yna ar bechod yn bosibl iddo. Ond nid yw y wedd esgusodol yna ar bechod yn bod i Dduw. Y mae ei berffeithrwydd yn ei godi ef, o angenrhaid, uwchlaw y cydymdeimlad hwnnw â drwg sydd yn gwneud creadur yn demtiwr. 'Duw nis gellir ei demtio â drygau; ac nid yw efe yn temtio neb.' Dyna'r cyfieithu sy'n rhoi'r ystyr gryfaf, ac yn gorwedd oreu ar y geiriau; ond pe derbynid cyfieithiad Alford, dyweder: 'Canys y mae Duw yn ddifedr mewn drygau,' i'r un peth y delai'r meddwl felly.

14. Rheswm arall na all y temtio fod o hono ef yw, (2) yr hyn ydyw dyn. Nid rhaid i ni fyned ddim oddi wrth ein drysau'n hunain i roi'r bai o'n temtio ni. **Canys yna y temtir pob un, pan y tynner ef, ac y llithier, gan ei chwant ei hun.** Gallai'r ymholiad godi, 'Er

ac y llithier, gan ei chwant ei hun. Yna chwant, wedi ym- 15
ddwyn, a esgor ar bechod: pechod hefyd, pan orphener, a
esgor ar farwolaeth. Fy mrodyr anwyl, na chyfeiliornwch. 16
Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddi uchod y 17
mae, yn disgyn oddi wrth Dad y goleuni, gyd â'r hwn nid

---

nad yw Duw ei hunan yn temtio, er ei fod ef yn rhy dda i lychwino'i fysedd â'r fath waith, eto fe'm rhoes i mewn byd lle y gwyddai efe mai fy nhemtio gawn i.' Y mae'n eithaf gwir fod defnydd temtasiynau yn y byd o'n deutu ni; eto, ynom ni y mae yr hyn sy'n gwneud y demtasiwn yn demtasiwn. 'Pan y tynner ef ac y llithier gan ei chwant ei hun.' Y mae cryn wahaniaeth rhwng yr esbonwyr ar y 'tynnu' a'r 'llithio.' Barn Plumptre yw mai dameg oddi wrth bysgota sydd yn y cyntaf, ac oddi wrth hela adar yn yr ail; ond dywed eraill na thal y gair 'tynnu' ddim i olygu 'tynnu i mewn' megis â bâch, mai 'tynnu draw' ydyw ei feddwl, hudo allan o ddiogelwch, ac felly hudo o'r ffordd. Cytunir, pa fodd bynnag, yn bur gyffredin, fod y gair 'llithio' wedi dyfod i ddechreu o'r 'helfa.' Dyma farn Mayor, a barn yr Esboniwr ar Iago yn nghyfres Meyer. Cytunir hefyd yr arferir y gair am ystrywiau y wraig ddyeithr fel ail ystyr. Nid oes dim dwywaith nad yw'r awdwr yn meddwl am y darluniau o honi hi yn Llyfr y Diarhebion (Diar. vii. 6-27; ix. 13-18).

15. Daw hynny yn amlycach fyth yn yr adnod nesaf. Yna chwant, wedi ymddwyn, a esgor ar bechod; pechod hefyd, pan orffenner. *Pan berffeithier, pechod wedi tyfu i'w faint.*

A esgor ar farwolaeth. Chwant y dyn ydyw y buteinwraig sydd yn ei hudo; a ffrwyth y briodas aniwair a'i chwant ydyw pechod; a phlentyn pechod drachefn yw marwolaeth. Marwolaeth y mae yn ei gynyrchu wedi'r elo efe'n ddigon cryf i fagu ei epil naturiol ei hun. Ond ym mhriodas y dyn â thueddiadau isel ei natur y dechreuodd y cwbl; ac er bod y dyn yn rhwym i ganlyniadau'r briodas, yr oedd efe yn rhydd pan yr ymroddes iddi. Dyn oedd efe trwy'r cwbl, nid asglodyn marw ar wyneb y cenllif, ond dyn, a'i ryddid ganddo, nes iddo ef ei hun ei werthu. A chan mai yn ddyn y gadawodd y Creawdwr mawr ef yng nghanol temtasiynau—a phwy fuasai'n diolch am gael bod yn llai na dyn?—nid oes ganddo mwyach le i gŵyno yn erbyn yr hwn a'i gwnaeth. Fel y dywed Plummer, y mae yn gyfrifol ddwywaith am ei godwm. Ynddo ef yr oedd y chwant a wnaeth ei demtio'n bosibl; ac arno ef y bu'r bai wrandaw ar ei chwant. Ni fuasai gan na byd nac uffern awdurdod i'w demtio heb ei gydsyniad ef ei hun.

16. Peth arall yn erbyn dywedyd, 'Gan Dduw y'm temtir,' ydyw (3) daioni Duw yn ei ragluniaeth. Fy mrodyr anwyl, na chyfeiliornwch. Yr ydych yn yr eithaf pellaf oddi wrth y gwir wrth dybied felly.

17. 'Duw yn temtio' nid oes dim posibl i hynny fod: o hono ef y daw pob daioni. Nid all y drwg ddim dyfod o'r un fan. Pob rhoddiad daionus a phob rhodd berffaith. Pob rhodd sydd, o ran yr ysbryd y rhoddir hi ynddo, yn dda, ac o ran ei chynnwys yn berffaith.

18 oes gyfnewidiad, na chysgod trōedigaeth. O'i wir ewyllys
yr ynnillodd efe nyni trwy air y gwirionedd, fel y byddem

---

**Oddi uchod y mae, yn disgyn oddi wrth Dad y goleuni.** Dyma'r atalnodiad goreu, er fod rhai awdurdodau go uchel yn cynnyg tynnu'r *coma* ar ol 'mae.'

**Tad y goleuni.** *Tad y goleuadau* (W.S.), sef yr haul, a'r lleuad a'r sêr.

**Gyd a'r hwn nid oes gyfnewidiad na chysgod troedigaeth.** *Cysgod troi, cysgodiad troedigaeth* (W.S.). Hwyrach mai cyfieithiad Mayor yw y goreu o'r llawer sy'n cael eu cynnyg. 'Gyd a'r hwn nid oes gyfnewidiad, na newid yn bwrw'i gysgod arno.' Nid yw efe yn newid dim ei hunan; ac nid yw cyfnewidiadau'i greadur yn cymylu dim ar ei ogoniant ef. Y mae goleuadau'r ffurfafen yn codi ac yn machlud, ac yn myned dan ddiffyg weithiau; ond nid yw eu Tad hwy yn newid dim. Y mae y geiriau hyn, debyg, yn cyfeirio at ffurf newydd ar y gŵyn 'gan Dduw y'm temtir.' 'Rhowch nad yw efe yn temtio ei hunan, yn uniongyrchol nac yn anuniongyrchol chwaith: onid yw efe, o ran effaith, yn temtio, pa mor groes bynnag i'w fwriad ydyw hynny? Onid oes ddiffyg arno fod wedi creu byd lle y gallai temtio a drygioni ddyfod i mewn? Onid allasai efe greu byd rhy dda i ddrwg ddyfod iddo? Onid ydych chwi, wrth symud y bai oddi ar ei gymeriad fel Duw da, yn ei osod ar ei ddoethineb a'i fedr? Onid ydyw y telpyn pridd, o'r diwedd, wedi meistroli'r crochenydd?' Na, y mae efe nid yn unig yn dda ei hun, ond yn dda yn ei holl waith. Heblaw bod ei fwriad yn deilwng o hono ef, y mae ei weithredoedd yr un fath. Nid yw y gwyrni sydd yn hanes ei greadigaeth yn ddim anair iddo ef. Nis gellir rhoi gronyn o'r bai wrth ei ddrws ef. Byddai iddo ef fod o fwriad, neu yn ddifwriad, yn awdwr pechod, nid yn unig yn anhebyg i'w garitor, ond yn llwyr anhebyg i'w waith ef. Efe bia bob daioni: ïe, y daioni sydd yn dyfod o'r diwedd o ddrwg fwriad y creadur, Duw bia hwnnw. Beth yw hyd yn oed y cysgod ar y deial ond help i olrhain llwybr y goleu? Da i gyd ydyw gwaith Duw. Nis gall y drwg hefyd ddod o'r un fan.

18. Ond yn olaf, Na ddyweded neb, Gan Dduw y'm temtir, oblegid (4) daioni Duw yn ei ras, daioni mawr y prynedigaeth sydd yng Nghrist Iesu.

**O'i wir ewyllys yr ynnillodd efe nyni trwy air y gwirionedd, fel y byddem ryw flaenffrwyth o'i greaduriaid ef.** Wedi'r cwbl a ddywedwyd hyd yma y mae un anhawsder yn aros. 'A chaniatau nad yw Duw yn temtio'n uniongyrchol nac yn anuniongyrchol, yn fwriadol nac yn ddifwriad chwaith, y mae hyn eto i'w ddywedyd: fe wyddai wrth fy nghreu i mai pechadur fyddwn i. Ai nid gwell fuasai iddo beidio fy nghreu? Oni allasai efe ragflaenu fy aflwydd trwy fy nileu i o'i fwriad pan nad oeddwn i eto ond meddwl noeth yn ei galon ef? Ai nid yw y Goruchaf yn gyfrifol am fy nghodwm, gan y gallasai efe, yn y rhagolwg arno, beidio fy nghreu? Onid y tro caredicaf â mi, a gwybod ym mlaen llaw beth fyddai fy hanes, fuasai i mi gael peidio bod?' 'Darfydded am y dydd y'm ganwyd ynddo, a'r nos y dywedwyd, ynillwyd gwryw. . . . Bydded y noswaith honno yn unig; ac na fydded gorfoledd ynddi. . . .

ryw flaen-ffrwyth o'i greaduriaid ef. O achos hyn, fy mrodyr 19
anwyl, bydded pob dyn esgud i wrandaw, dïog i lefaru, dïog

---

Bydded sêr ei chyfddydd hi yn dywyll, disgwylied am oleuni, ac na fydded iddi; ac na chaffed weled y wawr ddydd: am na chauodd ddrysau croth fy mam, ac na chuddiodd ofid oddi wrth fy llygaid.' Y mae geiriau Job am ei ofid yn eithaf priodol, o'r safle honno, am ofid y gofidiau, am bechod. I ba beth y dygwyd dyn i fod, i gyraedd y fath gwymp? Fe fuasai gwir yn y gŵyn hefyd, oni buasai un peth. Yr oedd ein hachub ni mewn golwg wrth ein creu. Fel y sylwai Mr. Evan Phillips, y mae Duw wedi creu er mwyn achub; a'r bwriad o achub sydd yn ei gyfiawnhau ef am greu dyn o gwbl. Yr oedd yn iawn iddo anturio dwyn y fath greadur a hwn i fod, a pheryglon ei ryddid ar ei ben, am fod gan yr hwn a'i creodd fodd i'w greu o newydd.

Grisiau uchaf pob creadigaeth sydd yn ei chyfiawnhau hi ar ei hyd. I ba beth y gwnawd y ddaear, yr aeth hi trwy y fath gyfnodau o baratoad, y lluniwyd tô ar ol tô o greaduriaid byw arni? 'I'w phreswylio y gwnaethum hi,' ydyw yr ateb; ac ni welwyd i ba beth yr oedd hi da nes dyfod ei phreswylydd pennaf iddi. Mewn dyn y talodd y ddaear am ei chreu. Yn ei grisiau uchaf hefyd y caiff y greadigaeth ysbrydol ei chyfiawnhau. Dyna sy'n cyfiawnhau creu dyn, fod ei Grëwr, wrth ei greu, yn creu defnyddiau'r dyn newydd yng Nghrist Iesu. Nid yw geni dyn i'r byd yn destyn llawenydd ar wahan i'r ystyriaeth fod trefn i'w ail eni. Peidiwn ninnau a cheisio deall y greadigaeth gyntaf ar wahan i'r ail. Buasai daioni mawr Duw yn ei ragluniaeth, er bod yn dystiolaeth mor gref i'w gymeriad, heb ei goron oni bai gras.

O'i wir ewyllys. Heb ddim i'w gymell y tu allan iddo'i hun.

Yr ynnillodd efe nyni. *Y cenhedlodd efe nyni,* er y dywedir mai am y fam yr arferir y gair yn gyffredin. *Y rhoes efe fod i ni, y parodd ein geni ni.*

Trwy air y gwirionedd. Cymh. 1 Pedr i. 23.

Fel y byddem ryw flaenffrwyth o'i greaduriaid ef. Y mae tipyn o brydferthwch yr ymadrodd yn y gair bach 'ryw.' Y mae'r awdwr fel pe'n gwladeiddio wrth feddwl ei gyfrif ei hun a'i frodyr ym mysg blaenffrwyth creaduriaid Duw, yn synnu uwchben ei fraint, fel pe buasai'r peth yn ormod i fod yn wir, ac eto'n sicr mai gwir yw. 'Fel y byddem ryw flaenffrwyth: *fel y byddem, bron na ddywedwn i, yn flaenffrwyth:* a pha beth arall ydym ni o ran hynny? fel y byddem ryw flaenffrwyth o'i greaduriaid ef.'

## BRAWDGARWCH (I. 19—IV. 12).

i. 19-27.—PA DYMHER YSBRYD SYDD FWYAF CYDWEDDOL A'R EFENGYL?

Gwelsom yn adnodau 9-10 mai trwy effeithio ar ysbrydoedd dynion, i ddechreu, y mae yr efengyl i ddiddymu gwahaniaeth graddau, ac i gynyrchu teimladau brawdol. Cawn weled bellach pa beth yn bennodol yn ysbryd yr efengyl sydd yn ei haddasu i gyrhaedd y diben hwn. Cymherir yma dri pheth: llefaru, gwrandaw, a gwneuthur; a dangosir fod ysbryd

20 i ddigofaint: Canys digofaint gwr nid yw yn cyflawni cyf-

---

crefydd Iesu Grist yn fwy mewn gwrandaw nag mewn llefaru, ac yn fwy mewn gwneud nag mewn gwrandaw.

Dylid cofio mai fel nodau ar wahanol dymherau y sonir am y tri yn y lle hwn, nid yn gymaint fel arferion. Tymher siarad sy'n brofedigaeth i ddosbeirth blaenllaw cymdeithas: natur hòni pethau mawrion, a thra-awdurdodi ar eraill. Ar y rhan yma o'r pwnc y mynai Iago i ni graffu'n benaf, ond ei fod yma, fel yn y darn o'r blaen, er mwyn bod yn gyflawn ac osgoi camgasgliadau, yn galw sylw at y wedd wrthgyferbyniol i'r pwnc, rhag i neb lechu yng nghysgod yr ystyriaeth ei fod yn glir â pherygl y Pharisead trwy fod yn gwbl oddefol, heb gymeryd unrhyw ran amlwg yn ordinhadau crefydd.

19-21.—*Crefydd yn fwy mewn gwrandaw nag mewn llefaru.*

19. O achos hyn, fy mrodyr anwyl. 'Chwi a wyddoch, fy mrodyr anwyl; ond bydded pob dyn esgud i wrandaw . . .' yw y darlleniad a gymeradwyir yn Nhestament Westcott a Hort; sef, y mae'n debyg, *chwi a wyddoch hyn,* a chyfeiriad, wrth reswm, at rywbeth yn yr adnodau o'r blaen. A'r peth mwyaf naturiol yw cysylltu'r gair â'r adnod o'r blaen ei hun; canys, heblaw y cysylltiad cyffredinol â mater y gyfran o'r blaen, y mae yma gysylltiad pennodol â diwedd y gyfran honno. A dyna'r ystyriaeth ddiweddaf fu dan sylw: 'O'i wir ewyllys yr ynnillodd efe nyni, trwy air y gwirionedd.' Nid oes dim diolch i ni ein bod ni i fod yn flaenffrwyth creaduriaid Duw. O'i wir ewyllys ef y mae hynny, a thrwy y gair; ac am ein bod yn ddyledus iddo ef am ein hiachawdwriaeth, ac mai trwy y gair y'n gwneir ni yn gyfranog o honi, tymer gwrandaw sy'n gweddi i'n bath ni. Felly y mae y cyfieithiad cyffredin, Cymraeg a Saesoneg, yn burion mynegiad o ystyr yr adnod, er darfod ei seilio ar ddarlleniad amheus. Yn ol unrhyw ddarlleniad—ac y mae cryn betrusder ym mysg y beirniaid pa un yw yr un cywir—rhoddir cyngor yr adnod hon i orphwys ar wirionedd y geiriau o'r blaen. Geilw iachawdwriaeth o ras am agwedd derbyn ar ein hysbryd ni; ac iachawdwriaeth trwy y gair am agwedd derbyn trwy wrandaw. Fel hyn y mae'r awdwr yn cael bwlch i fyn'd o'i ragymadrodd i ganol ei bwnc. At yr ysbryd Phariseaidd y mae yn anelu. Yn awr, nid yw newid y grefydd, o Iuddewiaeth i Gristionogaeth. ddim ynddo'i hunan yn angau i'r ysbryd hwnnw. Yn wir, po oreu y bo'r grefydd peryclaf yn y byd ydyw magu Phariseaid yn ei chysgod hi; ac ni fuasai yn ddiogel o gwbl coffa'r alwedigaeth i fod yn flaenffrwyth creaduriaid Duw ond yng nglyn â'r meddwl ei bod hi yn gyfan o ras.

Esgud i wrandaw. *Cyflym* i wrandaw: yr un gair, meddai Goleufryn, a'r gair *scut* ar lafar gwlad Sir Gaernarfon.

Diog i lefaru. Adwaenom y Pharisead oddi wrth eiriau ein Harglwydd am dano. Aeth ei broffes uchel a'i hirweddïo yn ddiareb. Fe glyw pawb ar unwaith flas y bregeth ar y mynydd ar yr adran hon.

Diog i ddigofaint. Siampl bennodol o'r siarad sy'n boddi llais cydwybod, trwy gadw sylw dyn ar y brycheuyn sydd yn llygad ei frawd, yn lle'r trawst sydd yn ei lygad ei hun, ydyw digofaint. Fel y dengys y geiriau nesaf, digofaint ydyw hwn yn erbyn y drwg ac o blaid y da. Gwell gan y

iawnder Duw. O herwydd paham rhoddwch heibio bob 21
budreddi, a helaethrwydd malais; a thrwy addfwynder der-
byniwch yr impiedig air, yr hwn a ddichon gadw eich

---

dyn fod yn osodwr cyfraith i eraill na bod yn feirniad llym ar ddrwg ei galon ei hun. Y mae pawb yn dewis bod o du moesoldeb a chrefydd, rhoi eu llais dros yr ochr gryfaf ymhob dadl; ac un ffordd i berswadio'n hunain ein bod o blaid yr hyn sydd dda, yn niffyg byw'n gysegredig iddo, ydyw dangos mawr sêl drosto mewn siarad.

20. Canys digofaint gwr nid yw yn cyflawni cyfiawnder Duw. Dyna esgus pob digllawn i'w gydwybod ei hun: ei fod, wrth daranu yn erbyn beiau pobl eraill, yn cyflawni cyfiawnder Duw. Gymaint o ddrwg deimlad sy'n gymysg â gweithredoedd o ddisgyblaeth deuluaidd ac eglwysig. Gymaint o deimladau personol a ymlusgant i mewn yng nghysgod uniondeb cyhoeddus mewn byd ac eglwys. Darllener pregeth Oded yn 2 Chronicl xxviii. 9-11. I'r graddau y gwnelo gweinidog cyfiawnder ei waith mewn ysbryd dig, yn falch o'r cyfle i ollwng ei deimlad dialgar ar ei elynion, i'r graddau hynny y mae'n peidio a bod yn weinidog Duw. Nid yw cynddaredd dyn yn gymeradwy hyd yn oed pan y mae o du cyfiawnder. Dichon na wna pobl byth fwy o gam na phan fyddant hwy eu hunain yn eu lle. Tybiant, heb gyfaddef hynny mewn geiriau, nad oes unrhyw greulondeb yn ddireswm ynddynt hwy.

21. O herwydd paham rhoddwch heibio bob budreddi, a helaethrwydd malais. *A gorlif drygioni.* Y mae y drefn o chwith i'r fel y buasem yn disgwyl ei chael. Gallasem ddisgwyl 'pob budreddi,' yn ail, am ei fod yn bwysicach; ond er ei fod yn bwysicach ynddo'i hun, eto, ar y llall y mae'r pwyslais yn y fan yma. Y pwnc yn y gyfran yma yw, nid atal pechod yn y cyfan o hono, yn rhyw gyffredinol, ond ei atal mewn rhyw un wedd arno, atal y tafod, nid rhoi heibio bob budreddi yn unig, ond rhoi heibio'n bennodol y drwg sy'n llifo drosodd mewn siarad; ac, fel y cawn ni weled yn y drydedd bennod, yn yr adran sy'n trin yr un pwnc yn beth manylach, y mae gorlif drygioni mewn ymadrodd nwydwyllt yn effeithio ar y dyn ei hun, ac ar yr holl ddyn. Rhaid gwylio drwg yn ei waith yn tori allan, yn gystal ag yn y galon; yn enwedig gan ei fod yn tori allan lawer tro yng nghysgod sêl grefyddol ac awydd am uniondeb.

A thrwy addfwynder derbyniwch. Cymh. 1 Cor. xiv. 36. 'Ai oddi wrthych chwi yr aeth gair Duw allan? neu atoch chwi yn unig y daeth efe?'

Yr impiedig air. *Y planedig air*, neu y gair a hauwyd. Gwel ddameg yr hauwr.

Yr hwn a ddichon gadw eich eneidiau. Ofer ceisio, fel y gwna rhai awduron, wasgu rhyw un ystyr ar y gair 'enaid' ymhob man. Mewn rhai mannau yn yr Ysgrythyr Lân ceir y rhaniad triphlyg ar ddyn: Corff, enaid, ac ysbryd; tra y mae llawer o adnodau eraill yn tybied rhaniad y *Rhodd Mam* a'r *Hyfforddwr:* Corff ac enaid; a dyna'r rhaniad a dybir yma, lle mae 'enaid' yn gyfystyr ag 'ysbryd.'

22 eneidiau. A byddwch wneuthurwyr y gair, ac nid gwran-
23 dawyr yn unig, gan eich twyllo eich hunain. Oblegid os yw
neb yn wrandâwr y gair, ac heb fod yn wneuthurwr, y mae
hwn yn debyg i wr yn edrych ei wynebpryd naturiol mewn
24 drych: Canys efe a'i hedrychodd ei hun, ac a aeth ymaith,
25 ac yn y man efe a anghofiodd pa fath ydoedd. Eithr yr hwn
a edrych ar berffaith gyfraith rhyddid, ac a barhao *ynddi*,
hwn, heb fod yn wrandâwr anghofus, ond gwneuthurwr y

---

22-25.—*Crefydd yn fwy mewn gwneuthur nag mewn gwrandaw.*

Wrth weled y perygl o chwenychu'r blaen, o garu'r prif gadeiriau, gallai pobl ddi-flaen gyfrif eu hunain yn ddi-berygl. 'Nid wyf fi yn proffesu pethau mawr, nac yn fy rhoi fy hun yn well nag eraill. Esgud i wrandaw yw fy arwyddair i.' Ond aroswch: y mae modd i ni dwyllo'n hunain mewn crefydd oddefol lawn cymaint ag mewn crefydd brysur. Mae gwneuthur yn well na gwrando.

22. A byddwch. *Ond byddwch.* Wneuthurwyr y gair, ac nid gwrandawyr yn unig, gan eich twyllo eich hunain. Gwel Ezec. xxxiii. 30-33; Mat. vii. 24-27.

23. Oblegid os yw neb yn wrandawr y gair, ac heb fod yn wneuthurwr, y mae hwn yn debyg i wr yn edrych ei wynebpryd naturiol mewn drych. Gwneid y drychau o ddur gloew neu bres.

24. Canys efe a'i hedrychodd ei hun, ac a aeth ymaith, ac yn y man efe a anghofiodd pa fath ydoedd. Dyma ddameg wych iawn i ddangos y math arbenig o hunandwyll y sonir am dano: twyllo'i hun, nid trwy fod yn gwbl am y llen a'i wir gymeriad, ond trwy gydnabod wrtho'i hun fod ganddo le i wella, a rhyw led dybied fod hynny'n ddigon yn lle ymdrech i wellhau. Pa sawl gwrandawr sy'n ei suo'i hun i gysgu â'r ystyriaeth ei fod yn ymwybodol o'i berygl? Yn wir fe ymhyfryda aml un mewn clywed a theimlo ei berygl. Debyg fod gosod ein hunain mewn ystum i fyw'n well yn rhoi rhyw dawelwch gau. 'Yn y man efe a anghofiodd pa fath ydoedd.' Myned at y drych, hwylio ymolchi ac ymdrwsio a wnaeth, heb wneuthur y naill na'r llall.

25. Eithr yr hwn a edrych. *Ymgrymu i edrych*, ac felly *craffu*, y gair a arferir yn Luc xxiv. 12 am waith Pedr yn ymgrymu, ac yn 1 Pedr i. 12 am yr angylion yn edrych i mewn i ryfeddodau'r iachawdwriaeth.

Ar berffaith gyfraith rhyddid. Dwywaith y ceir yr ymadrodd yn y Beibl, a'r ddwywaith hynny yn Epistol Iago, er y ceir y ddau ddrychfeddwl o ryddid a deddf wedi eu priodi yn llythyrau Paul hefyd. Gwel Gal. v. 13, Rhuf. viii. 2. Yr efengyl a feddylir, debycaf, wrth 'gyfraith rhyddid;' ond cawn gryfach rhesymau dros farnu felly pan ddown ni at y gair yn y bennod nesaf, ii. 12. (Gwel yno.)

Ac a barhao ynddi. Nid oes dim 'ynddi' yn y gwreiddiol, fel y gwelir wrth y Beibl Cymraeg: a dichon mai 'felly' fyddai'r gair goreu

**weithred, *efe* a fydd dedwydd yn ei weithred. Os yw neb yn** 26
**eich mysg yn cymmeryd arno fod yn grefyddol, heb attal ei**
**dafod, ond twyllo ei galon ei hun, ofer *yw* crefydd hwn.**

---

mewn llythyrenau Italaidd, 'ac a barhao *felly*.' Parhau i edrych ydyw y meddwl, a than edrych i ymolchi.

Hwn, heb fod yn wrandawr anghofus, ond gwneuthurwr y weithred. Cyf. Saes. Diw., 'Heb fod yn wrandawr yn anghofus, ond gwneuthurwr yn gweithio.' Bwriedir tipyn o gyferbyniad yn ffurf y geiriau. Pa sut i gyfleu hwnnw sydd fater anawdd. Ar y 'gwrandawr' a'r 'gwneuthurwr' y mae y pwyslais, bid a fynno; a geiriau ydyw 'angof' a 'gweithred,' a fwrir i mewn i dynnu allan yr ystyr, ac nid i chwanegu ati; fel pe dywedasid, 'Heb fod yn wrandawr—anghofio y bydd hwnnw—ond gwneuthurwr, un a wna rywbeth.'

Efe a fydd dedwydd yn ei weithred. Neu *dedwydd yn ei waith. Dedwydd mewn gwneuthur;* oblegid y gwaith o ymlanhau trwy ddefnyddio'r gair megis drych, ac nid ffrwyth y gwaith, a olygir.

26-27.—*Crefydd yn fwy mewn gwneuthur nag mewn siarad.*

26. Os yw neb yn eich mysg yn cymeryd arno fod *(yn tybied ei fod)* yn grefyddol. Efe ei hun sy'n cael mwyaf o'i dwyllo yn y rhith grefydd sydd ganddo. Ystyr y gair 'crefyddol' yw 'crefyddol ei arferion,' 'addolgar,' 'defosiynol.'

Heb atal *(heb ffrwyno)* ei dafod. Gwers gyntaf crefydd, fel y gwelsom uchod, ond nid y cwbl o grefydd o lawer. Eithr os na fedr dyn y wers gyntaf, gwan ydyw'r tebyg iddo feistroli'r pwnc.

Ofer yw crefydd hwn. Y mae i'r gair 'crefydd' a 'chrefyddol' yn y fan yma ystyr arbenig. Nid crefydd o ran ei hanfod a feddylir. Prin y buasai neb yn ddigon ehud i'w dwyllo'i hun trwy gamgymeryd ymddiddanion crefyddol a phroffes o grefydd am hanfod y peth ei hunan. Ein camsyniad mynych yw ei gyfrif yn brawf i ni'n hunain ac eraill fod hanfod y peth gennym. Yr hyn a feddylir, ynte, yw, 'crefydd yn ei harferion, yn ei defodau,' 'addoliad,' 'defosiwn,' yr un meddwl ag sydd i'r 'grefydd' yn y gair Cymraeg 'crefyddwr,' sef dyn sy'n dilyn rhyw ddefodau crefyddol, a'r rheiny, at eu gilydd, yn rhai cyhoeddus.

27. Addoliant pur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad (neu, *ger bron ein Duw a'n Tad*) yw hyn: Ymweled a'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd. Y mae amryw, gan ddilyn Coleridge, wedi galw sylw at brydferthwch a newydddeb drychfeddwl yr adnod hon. Gwneuthur daioni ydyw'r addoli puraf mewn bod. Nid yn unig dyma'r arwydd goreu o grefydd ger bron dynion, ond dyma'r mynegiad puraf o honi ger bron Duw. Ac erbyn edrych, dyma'r ffordd Ysgrythyrol o drin y pwnc. Y mae elusen, sydd gyda ni yn rhan o foesoldeb yr efengyl, yn y Testament Newydd yn perthyn i'r wedd ddefosiynol ar grefydd. 'Gwrandawyd dy weddi; a'th elusenau a ddaethant mewn coffa ger bron Duw' (Actau x. 31). Yr un modd yn y bregeth ar y mynydd gyda gweddi ac ympryd, rhanau addoliadol crefydd,

27 Crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad, yw hyn:
Ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, *a*'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddi wrth y byd.

---

y dosberthir elusen (Mat. vi. 1-18). 'Trugaredd a ewyllysiais, ac nid aberth.' Y mae hen ddadl pa ffurfwasanaeth sydd fwya'i mantais i ddyn; ond nis gall fod dwy farn pa un sydd fwyaf dewisol gan ein Tad. Defosiwn pur a dihalogedig ger ei fron ef yw hyn, ymweled a'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd. Dyma'r ffurfwasanaeth sydd wrth ei fodd ef. Dyma foddion gras crefydd Iesu Grist.

A'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd. Nid yw gweithgarwch yn rhoi cenad i ddyn fyw'r fel a fynno: hwyrach mai dyna'r cysylltiad; ond tebycach mai hwn: y mae gweithgarwch yn cadw dyn yn bur. Tybiai y Stoiciaid mai bywyd di-nwyd, digyffro, oedd y bywyd dyogel; a'r Epicuriaid goreu, mai bywyd llonydd oedd y bywyd dedwyddaf; ond addysg yr efengyl yw, fod dedwyddwch a dyogelwch dyn mewn gwaith. Y mae dwfr rhedegog yn ei buro'i hun.

Gwaith, gan hynny, ydyw hanfod addoli. 'Yn gymaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn, i mi y gwnaethoch.' Hawdd i ni dwyllo'n hunain ein bod yn gwasanaethu Duw trwy daranu yn erbyn beiau rhai eraill, trwy aml eiriau mewn gweddi, trwy gymeryd y blaen yn y cyhoedd, trwy gynghori a barnu'n gilydd, mewn gair, trwy drin pobl eraill; a chyn hawdded a hynny yw i ddyn, wrth osgoi cyfrifoldeb cysylltiad cyhoeddus â chrefydd, ymddigrifo mewn cael ei drin, mewn cael ei ddal wyneb yn wyneb â'i gyflwr drwg. Y mae y naill a'r llall yn gwneyd crefydd o'u dyddordeb ym mhethau crefydd. Ac yn hyn i gyd twyllo'u hunain y maent, nid twyllo eraill yn gymaint, 'a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi.' Heblaw nad yw ei grym hi ganddynt, y maent wedi gwadu ei grym hi: ei wadu mewn eraill, fel y byddai David Charles Davies yn dweyd. Ni welant ei eisieu o gwbl. Synant fod neb yn poeni dim yn ei gylch. Tybiant, ond cael rhith duwioldeb, fod grym duwioldeb yn siwr o gydfyned â hynny; 'twyllo ei galon ei hun.'

## PENNOD II.

FY mrodyr, na fydded gennych ffydd ein Harglwydd ni 1
Iesu Grist, *sef Arglwydd* y gogoniant, gyd â derbyn wyneb.
Oblegid os daw i mewn i'ch cynulleidfa chwi wr â modrwy 2
aur, mewn dillad gwychion, a dyfod hefyd *un* tlawd mewn
dillad gwael: Ac edrych o honoch ar yr hwn sydd yn gwisgo 3

---

II. 1-26.—DERBYN WYNEB.

Wedi nodi'r dymher yspryd y mae yr efengyl yn ei chynyrchu ac yn ei gofyn, fe â'r awdwr ym mlaen i sylwi ar ddau rwystr i frawdgarwch efengylaidd, neu, a siarad yn fanwl, un rhwystr mewn dwy wedd arno. Dyna ydyw hwnnw, y gwahaniaeth gwneud sydd rhwng dynion a'u gilydd. Fel y gwelwn ni wrth ddarllen ym mlaen, nid yw Iago am ddileu pob gwahaniaeth rhwng dynion, ond pob gwahaniaeth gwneud; a dyma'n union y gwahaniaethau sy'n lladd yr ysbryd brawdol; nid yw gwahaniaethau gwirioneddol ddim. Y mae y rheiny yn berffaith gyson â'n bod ni yn frodyr yng Nghrist. Gwneuthur rhagor anheg ac anghariadlawn rhyngom ni â'n gilydd, dyna sy'n anghyson â Christnogaeth. A dyma'r ddwy wedd ar y rhwystr hwn i frawdgarwch, gwaith yr eglwys yn rhoi'r blaen i rai ar gyfrifon anheg, a gwaith y rhai hynny yn ceisio'r blaen, neu, ac arfer geiriau'r epistol ei hun, derbyn wyneb ar y naill law, a meistriaid lawer ar y llaw arall. Derbyn wyneb yw pwnc y bennod hon. Y mae y bennod hon yn bennod gyfan ar ei phen ei hun o'r llythyr, ac yn rhannu, hithau drachefn, yn union yn ei haner. 'Ffydd a derbyn wyneb' yw testyn yr hanner cyntaf, a 'ffydd a gweithredoedd' ydyw testyn yr ail.

II. 1-13.—*Ffydd a derbyn wyneb.*

Ceir pwnc y bennod yn adnod 1. Eglurir ef trwy esiampl 2-4. Dangosir ei wrthuni a'i ynfydrwydd wrth ystyried (1) y bri a ddyry'r efengyl ar dlodion, 5-6a, (2) y gorthrwm a ddyoddefir oddiwrth gyfoethogion, 6b-7. Yna dangosir anghysondeb y peth â'r gyfraith, 8-11; ac yn enwedig â chyfraith rhyddid, 12-13.

1. **Fy mrodyr, na fydded genych ffydd ein Harglwydd ni Iesu Grist.** Y gras o ffydd, nid corff o athrawiaeth; ffydd yng Nghrist.

**Sef Arglwydd y gogoniant.** Gwel 1 Cor. ii. 8. Y mae ei anghydmarol ogoniant ef yn ddigon i ladd y duedd i dderbyn wyneb ym mhob meddwl ystyriol.

**Gyd a derbyn wyneb.** *Cymeradwyo'r presenoldeb gweledig, y wedd allanol,* ar ddynion, yn lle edrych yn unig ar y dyn, ac edrych arno yn y goleu newydd a gaed arno trwy yr efengyl.

2. **Oblegid os daw i mewn i'ch cynulleidfa chwi.** *I'ch synagog chwi.* **Wr a modrwy aur.** *Gwr aurfodrwyog.* Tarawiad hanner chwareus. **Mewn dillad gwychion, a dyfod hefyd un tlawd mewn dillad gwael.** Neu, *dillad budron.*

3. **Ac edrych o honoch ar yr hwn sydd yn gwisgo y dillad gwychion, a dywedyd wrtho, Saf di yna, neu eistedd yma**

y dillad gwychion, a dywedyd wrtho, Eistedd di yma mewn
lle da; a dywedyd wrth y tlawd, Saf di yna, neu eistedd
4 yma îs law fy ystol-droed i: Onid ydych chwi dueddol
ynoch eich hunain? ac *onid* aethoch yn farnwyr meddyliau
5 drwg? Gwrandewch, fy mrodyr anwyl; Oni ddewisodd
Duw dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn
etifeddion y deyrnas yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn

---

**is law fy ystol-droed i.** Sef ystol-droed y swyddog a fo'n gorchymyn.

4. **Onid ydych chwi dueddol ynoch eich hunain?** Gwell, *Onid ydych chwi'n gwneuthur rhagor yn eich plith eich hunain?* neu well fyth, *Onid ydych chwi ranedig ynoch eich hunain?* 'Yn ddau-ddyblyg eich meddwl, a ffydd genych yng Nghrist, ac eto heb gyflawn ddilyn ei arweiniad ef.' Teyrngarwch hanerog i Fab Duw ydyw yr ystyr yn ol y cyfieithiad yna.

**Ac onid aethoch yn farnwyr meddyliau drwg?** *Yn farnwyr drwg eu meddyliau,* yn cael eu llywodraethu yn eu barn gan ystyriaethau anheilwng.

5-6a.—*Y bri a ddyry'r efengyl ar dlodion.*

5. **Gwrandewch, fy mrodyr anwyl; Oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn.** Eu dewis fel dosbarth. Os oes ffafraeth i fod hefyd, y tlawd a ddylai ei chael hi; oblegid y tlawd sydd yn ei chael hi yng ngweithrediad cyffredin gras Duw. Cymharer yn fanwl 1 Cor. i. 26-31. Pa gyfrif bynnag a rown ni am hynny, y mae gan yr efengyl ryw dynfa at dlodion: ai am fod eu hystâd yn tueddu i'w gwneud yn dlodion yn yr ysbryd, neu am fod yn anawdd i ddim diddanwch gau eu cadw hwy oddi wrth yr unig wir ddiddanwch, neu ynte am eu bod hwy fel dosbarth wedi eu hesgeuluso gan bob dylanwad da arall, ac mai i'r efengyl y maent hwy'n ddyledus am unrhyw safle o barch sydd iddynt, nid yw'n hawdd penderfynu; ond y mae'r peth yn bod. Iesu Grist a ddarganfyddodd y tlodion fel dosbarth i wneud defnydd o honynt, ac i roddi arnynt urddas a chyfrifoldeb, i'w dwyn i gylch gwaith, ac felly i gylch anrhydedd cymdeithas. Eithaf gwir fod rhai o'i flaen ef wedi dysgu fod tlodi'n werthfawr fel dysgyblaeth, a bod y tlodion yn wrthddrychau tosturi Duw a dynion. Ystyriai y Paganiaid fod un o'u duwiau hwy yn noddwr arbenig i dlodion; a dysgai prophwydi yr Hen Destament fod tlodi, cyfnod o dlodi, yn foddion gras i ddynion ac i genhedloedd, i iselu uchel drem dyn, ac i'w dwyn i geisio'r Arglwydd. 'Gadawaf ynot hefyd bobl druain dlodion; yn enw yr Arglwydd y gobeithiant hwy' (Seph. iii. 12). Eto fe ystyriai yr Iesu mai un o nodweddau arbenig ei weinidogaeth ef oedd pregethu'r efengyl i'r tlodion (Mat. xi. 5).

**Yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas yr hon a addawodd efe i'r rhai a'i carant ef.** Ffydd a doethineb oedd dau begwn y bywyd crefyddol yn y bennod o'r blaen (gwel ar i. 2-8), ond yma ffydd a chariad, ac yn hyn y mae Iago yn llythyrenol gyd-daraw ag ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd.

ei garu ef? Eithr chwithau a ammharchasoch y tlawd. 6
Onid yw y cyfoethogion yn eich gorthrymmu chwi, ac yn eich
tynnu ger bron brawdleoedd? Onid ydynt hwy yn cablu yr 7

---

6. **Eithr chwithau a amharchasoch y tlawd.** Trwy roi lle is nag a haeddent iddynt yn yr eglwys; canys nid oedd yr ymddygiad a ddarluniwyd ond coel o ddull arferol y Cristnogion Iuddewig hyn o drin y brodyr iselradd. Y tebyg yw yr esgeulusid hwy'n ormodol wrth ethol swyddogion. Y mae'n lled sicr wrth y darluniad a roddir mewn mwy nag un ran o'r epistol fod 'meistriaid lawer' y bennod nesaf, yn o gyffredin, o blith y rhai a fagesid yn Phariseaid; a gallem feddwl fod aml un o honynt yn cyrhaedd nod ei uchelgais, ac yn cael swydd. Beth sydd debycach na bod llawer o eglwysi'r gwasgariad yn dewis eu swyddogion o blith pobl fawr eu cenedl, y rhai oedd wedi bod, cyn dyfod at Grist, yn rhyw ddosbarth hanner swyddogol? Gwyddom y rhestrid rhai o'r sect yma gyda'r penaethiaid. 'A gredodd neb o'r penaethiaid iddo, neu o'r Phariseaid? Eithr y bobl hyn, y rhai ni wyddant y gyfraith, melldigedig ydynt' (Ioan vii. 48-9). Oddi wrth bob peth a wyddom am y natur ddynol, nid yw yn debyg y byddai i gyferbyniad oedd mor gryf ym meddwl Iuddewig yr oes honno farw ar unwaith wedi i nifer o'r dosbarth blaenllaw hwn ddechreu dyfod yn ddisgyblion i'r Iesu.

6b-7.—*Gorthrwm y rhai goludog.*

6b. **Onid yw y cyfoethogion yn eich gorthrymu chwi, ac yn eich tynnu.** *Yn eich llusgo* (Dr. M.). **Ger bron brawdleoedd?**

7. **Onid ydynt hwy yn cablu yr enw rhagorol, yr hwn a elwir arnoch chwi?** Enw Crist.

Cyfyd yma ddau ymholiad lled anawdd eu hateb. Pa orthrwm a olygir? a pha wedd y mae y gorthrwm hwn yn rhoi grym i gynghor yr awdwr?

Pa orthrwm a feddylir? Y farn gyffredin yw mai erlidiau o achos enw Crist. Ac y mae llawer i'w ddweyd dros y farn hon. Yn un peth, yr oedd erlid yn beth digon cyffredin yn holl eglwysi'r Testament Newydd, ar ol rhyw egwyl fer o lonyddwch a fu yn union wedi'r Pentecost. Peth arall, yr offeiriaid, rhai'n perthyn i blaid y Saduceaid, y dosbarth cyfoethocaf meddir yn mysg y genedl, oedd yr erlidwyr cyntaf. Y blinder a gododd yng nghylch Stephan oedd yr erlid cyntaf y bu gan y Phariseaid ran flaenllaw ynddo. Felly, os yw amseriad cynnar yr epistol yn gywir—a fe geisiwyd dangos yn y Rhaglith ei fod—yr oedd cryn briodoldeb mewn dweyd mai'r cyfoethogion oedd yn erlid. Gwyddom hefyd ddyfod llawer o'r dosbarth erlitgar hwnnw i mewn i'r eglwys yn lled fore. 'A thyrfa fawr o'r offeiriaid a ufuddhasant i'r ffydd' (Actau vi. 7).

Eto mwy naturiol, ar y cyfan, yw golygiad arall, mai gorthrwm cymdeithasol, ac nid crefyddol, a feddylir. Gwyddom oddi wrth y llythyr hwn, (v. 1-6), fod camatal cyflog y gweithiwr yn beth rhy gyffredin; a diamheu fod hen bechod y genedl, cymeryd gwystlon afresymol ac angharedig, a rhoi arian ar usuriaeth, yn aros o hyd (Neh. v. 1-13), a bod y Phariseaid yn gystal a'r Saduceaid yn euog o hono. Y mae'n ddigon posibl hefyd fod buchedd y tlodion gorthrymedig yn rhoi peth esgus i'r mawrion dros eu gorthrymu.

8 enw rhagorol, yr hwn a elwir arnoch chwi? Os cyflawni yr
ydych y gyfraith frenhinol yn ol yr ysgrythyr, Câr dy gym-

Y mae tlodion yn aml yn lled ddiddarbod, yn llithro i ddyled fwy nag a fyddai raid; a phwy barotach na'r echwynnwr balch i gymeryd pob mantais a allai ar hynny. Gwyddom, wrth hanes yr erlidiau crefyddol, mor gyfreithgar oedd yr Iuddewon. Yr oedd y brawdwyr Rhufeinig eu hunain yn blino ar eu gwaith yn gwneud pob cweryl yn fater cyfraith. (Gwel er siampl Actau xviii. 14-15). A diamheu, ar y cyfan, mai nid heb ryw enw o hawl gyfreithiol y byddai'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn llwyr fwyta tai gwragedd gweddwon (Mat. xxiii. 14). Gwel eto ar v. 1-6.

A bwrw, gan hynny, fod erlid cymdeithasol llawn mor gyffredin ag erlid crefyddol, y tebycaf yw mai gorthrwm cymdeithasol oedd hwn: ond nis gallai ond Iuddewon digred fod yn euog o'r llall. Wrth reswm nid yw'n amhosibl esbonio'r adnodau fel cyfeiriad at Iuddewon digred; eithr eu cysylltu â Christionogion sydd fwyaf naturiol bob ffordd. Onid ergyd anghelfydd fuasai dweyd fod y rhai digred yn cablu'r enw rhagorol trwy erlid y disgyblion? Beth ond y cyfryw gabledd oedd eu hamcan? A phwy o ddarllenwyr Iago na wyddai mai dyna oedd eu hamcan hwy? Y mae mîn ar y gair os golygir mai gan rai ag enw Crist arnynt y perid y rhan fwyaf o'r blinder. 'Onid ydynt hwy yn cablu'r enw rhagorol . . . ?' Fel pe dywedasid, hwyrach na feddyliasoch ddim y cam a wneir trwy yr ymgyfreithio diddiwedd yma, a hwnnw'n gam, nid â'r rhai a orthrymir yn unig, ond, yn bennaf dim, â'r enw rhagorol yr hwn a elwir arnoch chwi. Hwnnw sydd yn dioddef fwyaf. Y mae Paul yn myned ymhellach, ac, heblaw ceryddu am wneuthur cam trwy gyfreithio, yn beio am gyfreithio o gwbl (1 Cor. vi. 1-7).

Yr ydym ar well tir yn awr i ateb y cwestiwn arall a godwyd; Pa fodd yr ydys i gyfrif fod y gorthrwm y cwynir o'i herwydd yn ddadl ychwanegol yn erbyn derbyn wyneb y mawrion? Nid yw'r cyfoethogion, fel dosbarth, wedi ennill na theilyngu lle amlwg yn eglwys Dduw; a cham â hwy yn gystal ag â'r eglwys ydyw ei roddi iddynt heb iddynt ei ennill yn deg. Mor bell ydynt o haeddu'r blaen yn eich mysg chwi, fel y mae y cyffredin o honynt yn ymyl bod yn wrthddrychau cerydd. Y mae llawer o honynt yn hyn o beth yn llwyr anheilwng o'u proffes. Dyma, feallai, y ffordd oreu i gysylltu'r geiriau â'r pwnc. Pe cymerem y golygiad arall a grybwyllwyd, a deall wrth y 'cyfoethogion' gyfoethogion digred, gorfyddai i ni wedyn briodoli i'r awdwr syniad go ryw anianol. Peth tebyg iawn i ddial, a hwnnw'n ddial anheg, fyddai drwgdybio pob cyfoethog a ddoi i'r gynulleidfa o herwydd pechodau'r erlidwyr oedd oddi allan.

Y meddwl gan hynny yw, fod yr eglwys ar fai roi lle amlwg i rai yr oedd y byd eisoes yn eu difetha trwy roddi gormod o fri arnynt, a bri heb ei ennill. Gerbron y brawdleoedd y mae eu mantais yn fawr. Y mae arian, hyd yn oed yn awr, yn gryn fantais i gyfreithio, pa faint mwy yn y dyddiau hynny, pryd y gwrandawai barnwr ar bregethwr o garcharor dro ar ol tro, er mor groes i'w chwaeth ydoedd hynny, gan ddisgwyl y rhoddid arian iddo gan Paul i'w ollwng ef yn rhydd. Peidiwch chwithau, meddai Iago, a chydweithio â'r byd i borthi balchder y goludog, ac i greu ar ei gyfer ef fanteision gau. Gadewch iddo, yn eglwys Dduw, ennill ei le fel rhywun arall, heb na ffafraeth na rhagfarn.

ydog fel ti dy hun; da yr ydych yn gwneuthur: Eithr os 9
derbyn wyneb yr ydych, yr ydych yn gwneuthur pechod, ac
yn cael eich argyhoeddi gan y gyfraith megis troseddwyr.
Canys pwy bynag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo 10
mewn un *pwngc*, y mae efe yn euog o'r cwbl. Canys y neb 11
a ddywedodd, Na odineba, a ddywedodd hefyd, Na ladd. Ac

---

8-11.—*Derbyn wyneb yn anghyson â'r gyfraith frenhinol.*

8. Os cyflawni yr ydych y gyfraith frenhinol. *Brenhines y deddfau.* Yn ol yr ysgrythyr, Car dy gymydog fel ti dy hun (Lev. xix. 18), da yr ydych yn gwneuthur. Y mae'n deg i'r cyfoethog fel y tlawd gael llawn ystyr y gorchymyn, câr dy gymydog. Nid oes dim byd pellach oddi wrth yspryd y paragraff hwn nag annog rhagfarn yn erbyn gŵr bonheddig fel gŵr bonheddig, ac feallai mai gwarchod rhag y camsyniad hwnnw ydyw diben yr adnod hon.

9. Eithr os derbyn wyneb yr ydych, yr ydych yn gwneuthur pechod, ac yn cael eich argyhoeddi gan y gyfraith megis troseddwyr. Yn lle cyflawni'r gyfraith frenhinol, y mae eich ymddygiad chwi yn ei thorri.

10. Canys pwy bynnag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo *(a dripio)* mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl. Yn *Nhestament yr Ysgol Sabbothol* cofföir dysgeidiaeth rhai o'r Rabiniaid Iuddewig; (dysgai Rabiniaid eraill fel Iago); ond i ddyn gadw un gorchymyn yn fanwl y gallai efe fforddio bod yn lled ddiofal o'r lleill; ond mor wahanol yw dysgeidiaeth yr efengyl. 'Pwy bynag a dorro un o'r gorchymynion lleiaf hyn, ac a ddysgo i ddynion felly, lleiaf y gelwir ef yn nheyrnas nefoedd' (Mat. v. 19). Yr un pwnc yma ydyw derbyn wyneb.

11. Canys y neb a ddywedodd Na odineba, a ddywedodd hefyd, Na ladd. Gellid dweyd mwy nag un peth i gadarnhau dysgeidiaeth adn. 10. Y mae pallu mewn un pwnc yn gwneuthur dyn yn euog o'r cwbl am fod arfer tripio, arfer tramgwyddo, wrth ryw un rhwystr, yn wendid yn yr holl ddyn. Y mae gwendid y ddolen yn wendid yn y gadwyn i gyd. A pheth arall, y mae un gwendid yn difwyno pethau goreu'r cymeriad. 'Gwybed meirw a wnant i ennaint yr apothecari ddrewi; felly y gwna ychydig ffolineb i ŵr ardderchog o herwydd doethineb ac anrhydedd' (Preg. x. 1). Rheswm arall, pa fodd bynag, sydd gan Iago. Y mae tramgwyddo mewn un pwnc yn gwneuthur yn euog o'r cwbl am mai datguddiad o ewyllys yr un Duw yw pob rhan o'r ddeddf. Un egwyddor sydd yn yr holl gyfraith; a honno, nid dim arall, a amherchir ym mhob rhyw fai. Yn erbyn ewyllys a natur Duw y mae pob trosedd. Troseddau o'r gorchymynion annebycaf i'w gilydd, troseddau ydynt yn erbyn yr un peth. 'Cyflawnder y gyfraith yw cariad.' Cymerwch y ddau bechod a enwir yma, godinebu a lladd. Pechod yn erbyn cariad, yn eglur ddigon, yw un o'r ddau; ond dyna ydyw y llall hefyd. Os anghariad yw hanfod trosedd o'r chweched gorchymyn, digysegru cariad ydyw trosedd o'r seithfed, fel y

os ti ni odinebi, etto a leddi, yr wyt ti yn troseddu y gyfraith.
12 Felly dywedwch, ac felly gwnewch, megis rhai a fernir wrth gyf-

---

daw pechod yr anifail, yn gystal a phechod yr ellyll, o dan yr egwyddor fawr sydd yn sail pob gorchymyn.

Ac os ti ni odinebu, eto a leddi, yr wyt ti yn troseddu y gyfraith.

II. 12-13.—*Derbyn wyneb yn arbenig o anghydnaws â chyfraith rhyddid.*

12. Felly dywedwch, ac felly gwnewch, megis rhai a fernir wrth gyfraith rhyddid. Nid yw hon, y mae'n amlwg, ddim yr un un a'r gyfraith y mae son am dani yn yr adnodau o'r blaen. Cyfraith noeth ydyw honno, cyfraith yn ystyr briodol y gair.

Yn y bennod o'r blaen (gwel i. 25), cawn gyfraith rhyddid o dan y gymhariaeth o ddrych; ac yn ol y gymhariaeth peth ydyw cyfraith rhyddid i roi golwg deg i'r dyn arno'i hunan, nid cynllun o'r tu allan iddo, y disgwylir iddo gydymffurfio âg ef; nid delw, yn dangos y ddiwyg a'r osgo sydd i fod arno, ond adlewyrchiad teg o'r hyn ydyw efe ei hun. 'Holed dyn ef ei hun.' 'Profwch eich hunain.' 'Paham nad ydych, ie o honoch eich hunain, yn barnu yr hyn sydd gyfiawn.' Dyma gynefin gennadwri gair Duw yn yr efengyl (1 Cor. xi. 28, 2 Cor. xiii. 5, Luc xii. 57). 'Teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae.' Y mae y gyfraith a'r frawdle yno. Y gyfraith oddi mewn ydyw nod braint y cyfamod newydd (Jeremiah xxxi. 33, Heb. viii. 10).

Ond cawn oleu pellach ar gyfraith rhyddid yn y lle hwn. Yma y mae hi, nid dan gymhariaeth, ond dan gyferbyniad; a'r hyn a gyferbynnir â chyfraith rhyddid ydyw barn ddidrugaredd. 'Felly dywedwch, ac felly gwnewch, megis rhai a fernir wrth gyfraith rhyddid. Canys barn ddidrugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth drugaredd.' Yn awr, os barn ddi-drugaredd sydd groes i gyfraith rhyddid, barn trugaredd ydyw hi. Y mae hi felly, heblaw rhoddi golwg i ddyn arno'i hun, ar yr hyn ydyw yn awr, yn rhoi golwg iddo hefyd ar yr hyn a allai efe trwy ras Duw fod, yn ei ddangos ef iddo'i hun yn yr hyn a all Duw ei wneuthur o hono. Mewn gair, cyfraith rhyddid ydyw un o'r enwau a rydd Iago ar efengyl gras; eithr nid yw yn llai teilwng o'r enw cyfraith am ei bod o ras. Yr efengyl yw y ddeddf uchaf mewn bod. Pa le y codir safon moesoldeb cyfuwch ag y gosodir ef yn y bregeth ar y mynydd? Ac eto yr efengyl yma, sydd yn gosod y nod mor uchel, sydd hefyd yn dangos i'r pellaf ar ol fodd i'w gyrhaedd.

Chwaneg, y mae cyfraith rhyddid yn datguddio yr hyn ydyw dyn i fod trwy yr hyn ydyw yn awr. Hi ddargenfydd linellau ei berffeithrwydd yng nghanol yr amherffeithrwydd mwyaf. Nid cynllun oddi allan yw Crist yn y golygiad hwn, ond cynddelw y dyn ei hun. Y mae awgrym yn ein dynoliaeth gyffredin am y Crist sydd i'w ffurfio ynom; ac felly fe ddaw pob peth a gyrhaeddwn ni yn ddatguddiad llawnach o'r hyn sydd eto i'w gyrrhaedd.

O herwydd hyn, gan mai ysbryd, ac nid llythyren ydyw, nis gall cyfraith rhyddid byth fyned yn hen. Am gyfraith noeth, unwaith y delo dyn i

raith rhyddid. Canys barn ddidrugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth 13
drugaredd; ac y mae trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn barn.

---

fyny â honno, y mae ei gwasanaeth iddo yn darfod; a chyn belled ag y dysgwyd y byd a'r eglwys, fel dysgu plant, trwy orchymynion oddi allan, aeth y deddfau yn ail bethau mewn amser. Bu diwedd ar y gorchymyn o herwydd ei lesgedd a'i afles. Ond fe bery cyfraith rhyddid yn newydd o hyd, tra bo dyn yn ddyn. Nis gall efe byth dyfu drwyddi hi; oblegid y mae pob cyrhaeddiad o'i eiddo yn troi'n ddawn newydd ynddo i adnabod yr hwn sydd gywir, ac ymdebygu iddo ef. Nid â deddf ei fywyd byth yn ddiles iddo. Hi gymer y credadyn erbyn ei law yn y dyfnderau; a pho uchaf y dring, mwyaf yn y byd a wel efe o ystyr a gwerth yn ei harweiniad hi. Y mae hi yno, bob cam o'r daith, yn dangos y pellder rhwng dyn a'i berffeithrwydd, ac yn diddymu'r pellder hefyd, yn condemnio ac yn maddeu ar unwaith. Cyfraith ydyw hi, ond cyfraith rhyddid. Os ydyw yn cydgau pawb, eu cydgau i ffydd y mae; oblegid y mae yn agor synnydd diderfyn o'n blaen.

13. Canys barn ddidrugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth drugaredd. 'Os maddeuwch i ddynion eu camweddau, eich Tad nefol a faddeu hefyd i chwithau: eithr oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, ni faddeu eich Tad eich camweddau chwithau' (Mat. vi. 14-15). Nid oes yr un egwyddor yn gliriach na hon yn nysgeidiaeth ein Harglwydd; ond da fyddai i ni gofio mai nid rhywbeth wedi ei osod arnom o benarglwyddiaeth ydyw hwn, ond peth yn codi'n angenrheidiol o natur maddeuant yr efengyl. Ac yn ol yr adnod o'r blaen, nodwedd arbennig y maddeuant hwnnw yw, ei fod yn fater o ddeddf. Yn awr y gwahaniaeth rhwng deddf ag eithriad ydyw, fod deddf o angenrheidrwydd yn ddaufiniog. Pob peth y byddo dyn yn ei gael trwy ddeddf, rhaid iddo hefyd fod yn barod i'w roi. Llawer gwaith, yn hanes Lloegr, y darfu i ddosbarth neillduol yn y wladwriaeth, y bendefigaeth dyweder, ymladd am eu hawliau, heb ddim uwch yn eu cymhell na dibenion hunangar; ond wedi cael yr hawliau, a'u cael yn fater o ddeddf, buan y bu raid i'r dosbarth a'u hennillodd hwy eu rhannu â'r genedl i gyd. Ni fyddai deddf yn gweithio o un tu, heb weithio o'r tu arall, ddim yn ddeddf. A hanfod maddeuant yr efengyl ydyw ei fod i'w dderbyn, nid fel cymwynas eithriadol, ond fel deddf sefydlog y llywodraeth.

'Yr hoelion geirwon, celyd,
Gynt a'i trywanodd e',
Sy'n awr yn dal y nefoedd
Gwmpasog yn ei lle.'

Os nad yw dyn wedi dysgu maddeu i'w gyd-ddyn, nis gall fod hwnnw wedi derbyn maddeuant gan Dduw fel mater o drefn. Ei dderbyn fel eithriad iddo'i hunan a wnaeth. Dyna hanes y gwas aniolchgar yn y ddameg (Mat. xviii. 23-35). Da iawn, yn ddiau, oedd gan hwnnw gael maddeuant; ac eto ni chredodd efe ddim mewn maddeuant. Ni feddyliodd efe ddim mwy o'r brenin am ei waith yn maddeu iddo. 'Go dda,' meddai yn ei galon, wrth fyned o ŵydd ei arglwydd, 'ond go wan hefyd;' a'r cyfle cyntaf a gafodd, dangosodd i bawb mai fel gwendid yr edrychai efe ar waith ei arglwydd yn maddeu, gwendid manteisiol iddo ef, ond gwendid yr un pryd. Pe gwelsai mai gogoniant yn ei arglwydd oedd maddeu, ni

fuasai dim posibl iddo fyned allan o'i ŵydd i lindagu ei gydwas. Y mae maddeu i'n gilydd, felly, yn amod derbyn maddeuant gan Dduw, mor wir ag y mae credu yn aberth Crist yn amod; oblegid pwy erioed a gredodd o ddifrif yn yr aberth hwnnw, na chredodd ynddo fel aberth a wnaeth faddeu yn beth teilwng o Dduw; maddeu fel eithriad, maddeu am y tro, ydyw syniad y dyn anianol; ond maddeu, a hynny'n beth yn ei le, ydyw maddeuant Duw. Tarawodd gweddi Moses y cyweirnod hwn yn bur groew (Num. xiv. 18-19). 'Yr awr hon, gan hynny, mawrhâer, atolwg, nerth yr Arglwydd, fel y lleferaist, gan ddywedyd: Yr Arglwydd sydd hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd, yn maddeu anwiredd a chamwedd; a chan gyfiawnhau ni chyfiawnhâ efe yr euog. Ymweled y mae âg anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth. Maddeu, atolwg, anwiredd y bobl yma, yn ol dy fawr drugaredd, ac megis y maddeuaist i'r bobl hyn o'r Aipht hyd yma.' Maddeu am y tro yw maddeu dyn; ond maddeu yn ol ei arfer y bydd Duw; maddeu yn ol deddf ddyfna'i galon; maddeu am fod yn hoff ganddo drugaredd; maddeu

'A'r priodoliaethau mewn hedd,
Yn gweiddi trugaredd i gyd.'

Y mae Iago yn annog y Cristnogion i faddeu i'w gilydd felly am fod rhaid derbyn cyfraith rhyddid yn ei holl ystyr, ac yn ei holl ganlyniadau. 'Felly dywedwch, ac felly gwnewch;' ac y mae fod cyfraith rhyddid yr unig drefn ddiogel i ni yn gorphwys ar wirionedd dyfnach, sef mai cyfraith rhyddid yw yr oreu ynddi ei hun.

Dyna ystyr y rhan olaf o'r adnod. Ac y mae. . . Yn ol yr ysgrifau goreu heb yr 'ac.' Y mae trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn barn. Y mae trugaredd yn well na barn. Yr un gair sydd am orfoleddu yma ag sydd am orfoleddu yn erbyn y canghenau naturiol yn Rhuf. xi. 18. Yn y gystadleuaeth rhwng barn a thrugaredd, trugaredd bia'r maes.

Y mae perthynas hyn oll â'r pwnc dan sylw, sef derbyn wyneb, yn ddigon eglur. Ag addef bod amgylchiadau'r iselradd yn gadael eu hol ar ei gymeriad, fod rhyw demtasiynau y mae tlodion yn neillduol o agored iddynt, a bod arfer a'u hystyried yn is nag eraill gan y byd yn eu hanaddasu, i ryw fesur, at gymeryd y blaen; eto edrych y mae cyfraith rhyddid, nid yn ol yr hyn ydyw dyn yn awr, ond yn ol yr hyn a ellir o hono trwy ras. Os yw cyfraith noeth yn hawlio tegwch i dlodion yn yr eglwys, y mae cyfraith rhyddid yn hawlio mwy na hynny. Y mae yn hawlio gennym gofio fod y tlawd dan anfantais i ddangos ei ragoriaethau, ac y gallant fod yn hir o'r golwg. Fe gafodd yr efengyl hyd i ddynion, a phethau goreu dyn yn perthyn iddynt, dynion gwerth eu defnyddio yn nheyrnas y Messïah, o fysg publicanod a phechaduriaid. Y mae ffydd yng Nghrist yn myned ym mhellach na'r gyfraith frenhinol, 'Câr dy gymydog fel ti dy hun,' ac yn cymeryd golwg faddeugar, drugarog, ar ddosbarth o ddynion sydd dan anfanteision i ymagor yn ebrwydd i'w llawn dwf. Y mae cyfraith rhyddid, weithian, yn safon pob barn iach. Fe'n bernir ni, dderbynwyr yr efengyl, wrth gyfraith rhyddid; ac megis rhai a fernir felly y rhaid i ni ddweyd a gwneuthur. Os ydyw ffafrio'r mawrion yn anghydwedd a chyfiawnder noeth, a charu'n cymydog fel ni ein hunain, y mae yn fwy anghydwedd o lawer â'r gyfraith newydd, yr hon sy'n dyrchafu'r tlawd o'r llwch, a'r anghenus o'r domen, i'w osod gyd â phendefigion, ie, gyda â phendefigion pobl Dduw.

II. 14-26.—*Ffydd a gweithredoedd.*

Buasai 'Ffydd heb weithredoedd' yn llawn cystal pennawd i'r gyfran yma, ond ein bod ni, wrth eirio fel arall yn cael codi'r cwestiwn yn ei wedd gyffredinol i ddechreu am le ffydd a gweithredoedd yn athrawiaeth y Testament Newydd: canys byddai esboniad bychan fel hwn yn anghyflawn heb ryw air ar berthynas dysgeidiaeth Iago â dysgeidiaeth Paul ar bwnc y cyfiawnhad. Paul ac Iago yw yr unig ddau o ysgrifenwyr y Testament Newydd sydd yn trin y pwnc yn fanwl a than ei enw; ac y mae llawer wedi tybied fod dysgeidiaeth y ddau ar y pen yma yn anghytun.

Fe dybia rhai ddarfod i Iago ysgrifennu'n unswydd i ddatroi dysgeidiaeth Paul. Cyd-darawai hynny i'r dim â rhagfarnau y beirniaid Ellmynnig a ymhyfrydent mewn gwneuthur cynnifer ag a fedront o lyfrau y Testament Newydd yn draethodau ar y ddadl fawr rhwng Paul a'r blaid Iuddewig yn yr eglwys. Yn ol beirniaid Tübingen dyma'r ddau begwn yr oedd holl feddwl yr oes honno yn gorwedd rhyngddynt, neu o'u deutu, efengyl yr enwaediad ac efengyl Paul. Ond heblaw y beirniaid hyn y mae rhai mwy eu parch i'r Ysgrythyrau wedi myned yr un ffordd, ac yn enwedig Luther; ac am fod Epistol Iago yn ymddangos yn groes i'r Epistolau at y Galatiaid a'r Rhufeiniaid y galwodd Luther hwn yn 'Epistol gwellt.'

Eraill drachefn nid aent cyn belled a hynny. Gwell ganddynt feddwl fod y naill awdwr yn anelu at y camddefnydd a wneid gan ddisgyblion y llall o ddysgeidiaeth eu hathraw. Barn Bleek, fel y dyfynnir hi gan Lightfoot, yw, mai Paul a ysgrifennodd gyntaf, a bod Iago yn rhybuddio'i ddarllenwyr rhag y camgasgliadau a dynnai rhai oddi wrth yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd. Ystyria Mayor, wedyn, mai Iago a ysgrifennodd gyntaf, ac mai ysgrifennu a wnaeth Paul, mewn rhai ysgrythyrau, i ddweyd yr ochr arall yn gryf, rhag i bobl wneud camddefnydd o eiriau Iago. Nid yw Mayor yn rhyw gadarn iawn fod Paul yn meddwl am Iago; eithr dadleua'n gryf, os oes un o'r ddau yn meddwl am y llall o gwbl, mai Paul sydd. Ond ni fyn na Mayor na Bleek fod anghysondeb athrawiaethol rhwng y ddau.

Y mae'n llawer tebycach, pa fodd bynnag, nad oedd yr awduron yn meddwl dim am eu gilydd. Yr unig ddadl bwysig dros feddwl eu bod ydyw'r ystyriaeth fod y ddau wedi disgyn ar yr un adnod, ac wedi ei thrin hi'n wahanol: 'Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder' (Gen. xv. 6; Iago ii. 23; Gal. iii. 6; Rhuf. iv. 3). Dengys Lightfoot, yn ei esboniad ar y Llythyr at y Galatiaid, mewn ysgrif dan y teitl 'Ffydd Abraham,'* nad oes dim hynod o gwbl yng ngwaith Paul ac Iago yn disgyn ar yr un adnod, gan ei bod yn hoff destyn ymdriniaeth ymysg dysgawdwyr Iuddewig yr oes honno. Fe ddywed fod Philo, yr Iuddew o Alexandria, yn gwneud rhyw gyfeiriad at yr adnod o leiaf ddengwaith, a'i fod mewn amryw fannau yn ymhelaethu arni. Ac y mae y lle mawr sydd i ffydd yn niwinyddiaeth Iuddewig yr oes apostolaidd yn rhoi sail deg i dybied fod yr adnod yma o Lyfr Genesis yn cael llawer o sylw yn llenyddiaeth y genedl ac yn ei hathrofeydd. Ychydig o adnodau sydd yn yr Hen Destament yn uniongyrchol ar ffydd, fel nas gallwn feddwl i hon

* Argraffiad 9, tud. 158-164.

gael ei gadael yn ddisylw os trinid y pwnc o gwbl; ac ni a wyddom y trinid y pwnc yn fynych oddi wrth lyfr yn yr *Apocrypha* y gellir, gyd â chryn sicrwydd, ei roi yn gyfoed â llyfrau'r Testament Newydd, Ail Lyfr Esdras. Dyry Lightfoot res o ddifynion o'r llyfr hwn. Y mae un o honynt yn darawgar i efrydwyr Iago, gan ei fod yn gwneud ffydd a gweithredoedd, gyd â'u gilydd, yn sail cymeradwyaeth gyda Duw (2 Esd. ix. 7, 8), 'A phob un a'r a gadwer, ac a allo ddianc wrth ei weithredoedd, a'r ffydd trwy'r hon y credasoch, a achubir oddi wrth y peryglon hynny, ac a gaiff weled fy iachawdwriaeth yn fy nhir ac yn fy nherfynau, canys sancteiddiais hwynt i mi o'r dechreuad.' Prin y gallasai athrawon oedd mor fyw i bwysigrwydd ffydd fod yn ddiystyr o ffydd Abraham, yn enwedig mewn oes oedd mor falch o'i thraddodiadau.

Yn awr, gan fod yr adnod am ffydd Abraham yn un mor gyffredin fel testyn addysg ar ffydd, nid oedd dim o gwbl i ryfeddu ato yng ngwaith Paul ac Iago ill dau yn disgyn arni, adnod nad oedd neb a driniai y pwnc yn debyg o'i gadael heibio. Yr un peth a fuasai traethu ar ffydd y pryd hwnnw, heb son am yr adnod yna, ag a fuasai i ddiwinydd diweddar ysgrifennu ar berson yr Arglwydd Iesu Grist heb wneyd sylw o'r paragraff sydd ar y pwnc yn yr ail bennod o'r Epistol at y Philippiaid, nac o'r rhagymadrodd i Efengyl Ioan; fel nad oes eisieu i ni dybied fod Paul ac Iago yma yn meddwl am eu gilydd, gan na wnaeth y ddau ond defnyddio, at eu hamcanion eu hunain, ysgrythyr nas gallent braidd osgoi cyffwrdd â hi.

Ac yn wir ni welaf fi le o gwbl i feddwl fod y naill yn bwriadu rhoddi ergyd i ddysgeidiaeth y llall. Y mae diwinyddion yn ddiarhebol am gysoni; ac yr ydym beunydd, yn ein hysgolion Sul, yn cysoni'n rhwydd bethau llawer anhaws eu cysoni na dim gwahaniaeth sydd rhwng Iago a Phaul. Nid oes yma ddim gwahaniaeth mwy nag a allesid ei ddisgwyl oddi wrth wahaniaeth y pwnc dan sylw, ac oddi wrth y gwahaniaeth naturiol rhwng y ddau ddyn. Fe ddiflanna yr anghysondeb ond i ni ystyried dau neu dri o bethau pur blaen.

Yn un peth. darn rhwng cromfachau ydyw y darn o Epistol Iago sydd wedi peri i bobl feddwl fod anghysondeb rhyngddynt. Yr ydys wedi arfer ysgrifennu a siarad ar y mater fel pe na buasai dim ond y paragraff hwn o waith Iago gennym, tra mai rhan gymharol fechan yw y paragraff hwn o lythyr nad yw yn faith i gyd. Dyfod i mewn y mae y paragraff hwn yng nghysgod y paragraff sydd o'i flaen, ar dderbyn wyneb. 'Na fydded gennych ffydd ein Harglwydd ni, Iesu Grist, sef Arglwydd y gogoniant, gyd â derbyn wyneb.' Dygir ymlaen, fel y gwelsom, rai o brif byncian yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb: gogoniant anghydmarol yr Arglwydd Iesu Grist, y berthynas sydd rhwng yr efengyl a gwahanol raddau cymdeithas, y gyfraith frenhinol, a chyfraith rhyddid, i ddangos gwrthuni derbyn wyneb y goludog. Yna gallasai rhywun ofyn, wrth glywed darllen y llythyr, 'Beth sydd a fynno'r pynciau mawrion yna â'r mater dan sylw?' Beth sydd a fynno credu yng Nghrist â mân ymddygiadau y rhai a fo'n gosod y gynulleidfa i eistedd? Beth sydd a fynno ffydd a threfnu swyddi eglwysig?' Neu, fel y buasem ni'n gofyn hwyrach, 'Beth sydd a fynno hi a gosod seti a dewis blaenoriaid?' hen byncian ymrafael sydd wedi blino eglwysi er yn bur fore. I ateb y ddadl yna, neu yn hytrach i achub ei blaen hi, y daw y darn ar ffydd a gweithredoedd i mewn. 'Pa fudd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd,

ac heb fod ganddo weithredoedd?' Y mae a fynno ffydd â holl fanylion eich bywyd. Y mae ei hysbryd hi'n treiddio trwy bobpeth a wneloch ar air neu ar weithred; ac os nad yw eich ffydd chwi felly, i ba beth y mae hi da?

Yn awr, pe buasai y gyfran hon ar brif linyn yr epistol, neu pe buasai darnau o gyffelyb ystyr mewn rhyw ran arall o'r llythyr, buasai peth esgus dros dybied mai i gywiro rhyw agweddau ar athrawiaeth Paul yr ysgrifennodd Iago; ond gan mai paragraff o'r naill du ydyw hwn, yn dyfod i mewn yng nghysgod un arall, gwelwn mor anheg ydyw ei gymeryd yn agoriad i'r llythyr i gyd, ac yn gyweirnod y gwahaniaeth rhwng y ddau awdwr. Nid yw hyn, wrth reswm, yn gwneyd gwerth cynnwys y paragraff ei hun yn ddim llai. Y mae rhai o ddarnau goreu'r Testament Newydd wedi eu hysgrifennu ar faterion pur fychain ynddynt eu hunain, a'r gwirioneddau mwyaf, rai o honynt, wedi eu traethu, heb fod yr amcan wrth wneyd hynny, o gwbl, yn un athrawiaethol. Felly yma, y mae yr arfer wrthun o dderbyn wyneb yn mysg Iuddewon y gwasgariad wedi achlysuro'r darn mwyaf cryno a miniog trwy yr holl Feibl ar oferedd ffydd heb weithredoedd. Ond tra nad yw nodwedd ddigwyddiadol y paragraff yn tynnu dim oddi wrth ei werth, y mae, er hynny, yn ei wneyd yn gwbl anigonol i seilio dadl arno dros ddweyd fod Paul ac Iago'n anghytûn.

Peth arall, nid y ffydd a ganmolir gan Paul a gondemnir gan Iago. Y mae Iago hefyd yn canmol honno yn mhob man ond yma; ac nid oes bosibl ei fod ef yn troi i ymosod arni yma, ac yntau'n rhoi'r lle pwysicaf iddi yn mhob man arall. Y hi ydyw dechreu doethineb, ac amod pob cynnydd mewn gras, gan Iago yn gystal a chan Paul.

Yn y cywair hwn y mae Iago yn dechreu ei lythyr. 'O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, gofynned gan Dduw . . . Eithr gofynned mewn ffydd, heb amheu dim.' Yn yr un cywair y mae yn gorphen hefyd. A rhyfedd iawn fod y blaid honno o dduwiolion, yn y dyddiau hyn, sydd yn credu mewn ffydd heb weithredoedd fel moddion i iachau y claf,—nid wyf fi yma'n dweyd na drwg na da am danynt,—ond rhyfedd eu bod hwy yn cael eu prif ysgrythyr i gadarnhau eu hathrawiaeth o Epistol Iago, a phobl yn meddwl nad oedd Iago ddim yn hoff o'r pwnc. 'A oes neb yn eich plith yn glaf, galwed ato henuriaid yr eglwys; a gweddïant hwy drosto, gan ei eneinio ef âg olew yn enw yr Arglwydd. A gweddi y ffydd a iacha y claf; a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny; ac os bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo. Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn.' Y mae ffydd ynte yn hoff bwnc gan Iago hefyd. Rhaid, gan hynny, mai nid am yr un ffydd y mae'n son yn y fan yma.

Yn wir, nid rhwng ffydd a gweithredoedd y mae cyferbyniad y paragraff hwn, nid rhwng dwy ffordd i gyfiawnhau pechadur—nis gall fod ond un—nid dau gyfiawnhad sydd gan yr awdwr o gwbl, ond dwy ffydd, y ffydd sydd yn cyfiawnhau, a'r ffydd nad ydyw hi ddim: rhwng y rheiny y mae'r cyferbyniad. 'Pa fudd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd, ac heb fod ganddo weithredoedd? a ddichon ffydd ei gadw ef?' Cymerir yn ganiatäol yma, fel yn mhob man, mai ffydd sydd yn cadw. Dywedir yn bendant fod ffydd yn cydweithio â gweithredoedd Abraham; eto dywedir hefyd mai o weithredoedd y cyfiawnheir dyn, 'ac nid o ffydd yn unig.' Nid y meddwl yw, y gall dyn gael ei gyfiawnhau trwy weithredoedd yn

gystal a thrwy ffydd, ond nad yw ffydd yn cyfiawnhau oni bydd ganddi weithredoedd, nad yw y ffydd sy'n cadw ddim yn bod, yn wir, ar wahan i weithredoedd.

Beth, ynte, yw y ffydd sydd heb weithredoedd? Nid ymddiried byw mewn person, yr hyn, yn sicr, a olygir wrth ffydd gan Paul, a chan Iago hefyd yn mhob man ond yma. Dywedai John Owen, Tynllwyn, fod dau air Cymraeg syml am y ddau fath o gredu, coelio ac ymddiried; a choelio ydyw y credu a gondemnir yma: cred farw mewn pwnc, fel coel y diwybod mewn cyfaredd. Ni a welwn hynny wrth yr enghraifft a roddir o hono, credu mai un yw Duw, erthygl fawr credo yr Israeliad. Difynna Mayor* ddywediad rhyfedd o eiddo hen awdwr Iuddewig, 'Y maent yn oeri Gehenna i'r hwn a ddarllenno'r Shema, a chraffu'n ofalus ar bob llythyren.' 'Yr adnod yma o Lyfr Deuteronomium,' medd Mayor, 'yw dechreu y Shema, sef y rhan honno o'r gyfraith a bennodasid i'w ddarllen neu i'w adrodd gan bob Iuddew hwyr a bore.' Ac fel yr oedd yr Iuddewon yn meddu ffurf y gwybodaeth a'r gwirionedd yn y ddeddf, felly yn ddiau yr oedd Cristnogion mewn enw hefyd, a ymffrostient fod ganddynt ffurf y gwybodaeth a'r gwirionedd yn yr efengyl; ac yn erbyn y Phariseaeth yma y llefara Iago yn y gyfran hon, yn erbyn y Phariseaeth sydd yn pwyso ar gywirdeb ei chredo, nid yn gymaint, fe allai, yn erbyn yr Antinomiaeth sy'n gofyn, 'A bechwn ni fel yr amlhao gras?' Credo a buchedd, nid dyledswydd a gras, ydyw pegynnau'r cyferbyniad yn y fan yma.

Y mae byd o wahaniaeth rhwng cydnabyddiaeth farw o'r gwirionedd, cydsyniad noeth â ffurf yr ymadroddion iachus, â'r ffydd fywiol honno, sy'n cydweithio â Duw mewn ufudd-dod ewyllysgar ac ymddiried llwyr. Paul, onide? a ddywedodd, mai â'r galon y credir i gyfiawnder. Y mae yr holl ddyn yn y credu sydd yn cadw; ac am y ffydd sydd yn dwyn dyn i undeb bywyd â Mab Duw, y mae honno cyn uched gan Iago ag ydyw hi gan Paul.

Peth arall eto, heb law mai paragraff rhwng cromfachau ydyw hwn, ac mai nid y ffydd a ganmolir gan Paul a gondemnir gan Iago, nid y gweithredoedd chwaith a ganmolir gan Iago a gondemnir gan Paul. Am y gweithredoedd y sonia Iago am danynt yma, y mae Paul yntau yn eu canmol; ac y mae ganddo un o'r enwau prydferthaf arnynt, 'Gweithredoedd da.' Gresyn i ni, Brotestaniaid, erioed ddweyd dim yn fychan am weithredoedd da. Ni ddywedodd Paul ond y goreu am danynt. Gweithredoedd da yw amcan eithaf efengyl Iesu Grist, a nod eithaf crefydd. 'Wedi ein creu yng Nghrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a ragddarparodd Duw fel y rhodiem ni ynddynt.'† Ni fynnai Paul i neb gael swydd yn yr eglwys oddieithr ei fod yn blaenori mewn gweithredoedd da. Dyna ydyw y cymwysderau i swyddi a enwir ganddo gan mwyaf, rhestr o weithredoedd da.‡ Yn wir disgwyliai gael hyn yma'n flaenaf dim yn y disgyblion cyffredin, bod yn barod i bob gweithred dda.§

Pa weithredoedd, ynte, y mae Paul yn ymwrthod â hwy fel ffordd iachawdwriaeth? Gweithredoedd y ddeddf y geilw efe hwynt; ac yn y bedwaredd bennod o'r Epistol at y Galatiaid fe rydd i ni amryw enghreifftiau o honynt (adn. 9-10). 'Pa fodd yr ydych yn troi drachefn at yr egwyddorion llesg a thlodion, y rhai yr ydych yn chwennych

* Tud. 93. † Ephes. ii. 10. ‡ 1 Tim. iii., Titus i. 6-9. § Titus iii. 1.

Pa fudd *yw*, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd, 14
ac heb fod ganddo weithredoedd? a ddichon ffydd ei

---

drachefn o newydd eu gwasanaethu? Cadw yr ydych ddiwrnodau, a misoedd, ac amseroedd, a blynyddoedd.' Seremonïau a chyflawniadau crefyddol y gyfraith a olygai efe felly wrth weithredoedd y ddeddf;* ac at y rheiny y cyfeirir yn ddiau yn y gosodiad mawr hwnnw, 'Yr ydym ni, gan hynny, yn cyfrif, mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, heb weithredoedd y ddeddf.' Fe'u geilw hwynt mewn man arall,† yn weithredoedd a wneir mewn cyfiawnder, sef y gweithredoedd a gynygir gennym i'r Brenin Mawr yn fargen am ein cyfiawnhau, y gweithredoedd yr ydys yn eu gwneuthur er mwyn prynu ei gymeradwyaeth ef. 'Eithr pan ymddanghosodd daioni a chariad Duw ein Hachubwr tuag at ddyn, nid trwy weithredoedd a wnaed mewn cyfiawnder, y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Yspryd Glân.' Fe all gweithredoedd cyfiawnder fod yr un rhai, o ran eu ffurf, a'r gweithredoedd da; ond y mae yr ysbryd sydd tu cefn iddynt yn eu gwneud yn weithredoedd deddf. Fe â elusenau, o'u gwneyd mewn yspryd hunangar, yn ddefodau allanol mor wir a'r golchiadau seremonïol. 'Pe porthwn y tlodion â'm holl dda, a phe rhoddwn fy nghorff i'm llosgi, ac heb gariad gennyf, nid yw ddim lleshad i mi.' Y gweithredoedd a wneir yn unswydd er mwyn prynnu cymeradwyaeth Duw trwyddynt, dyna'r rhai pellaf o bob gweithredoedd o fod yn gymeradwy gyd âg ef.

Dengys yr ystyriaethau hyn nad oes dim eisieu i ni briodoli bwriad i ateb eu gilydd i ddau awdwr y gwyddom o Lyfr yr Actau eu bod yn cyddynnu'n ardderchog, er pob gwahaniaeth oedd rhyngddynt; dau awdwr, hefyd, nad oedd dim o fewn cylch eu gwaith i'w cymhell i ateb eu gilydd. Ysgrifennai y naill at Iuddewon y Wasgarfa, a'r llall at y Cenhedloedd, fel yr oedd gwahaniaeth testyn, gwahaniaeth teithi meddwl y ddau awdwr, a gwahaniaeth darllenwyr, yn hen ddigon i gyfrif am unrhyw wahaniaeth sydd rhwng y ddau yn egluro trefn cadw pechadur, heb fod eisieu i ni dybied o gwbl fod dwy efengyl wahanol gan y ddau.

Y mae gan Iago yma ddefnydd tair diareb am ffydd heb weithredoedd; ac yng nglyn â phob un o'r tair cawn ryw air felly, am y ffydd honno, mai marw, neu ddiffrwyth yw. (1) Ffydd heb weithredoedd, geiriau heb ystyr. (2) Ffydd heb weithredoedd, teimlad heb ffrwyth. (3) Ffydd heb weithredoedd, corff heb ysbryd.

14-17.—*Geiriau heb ystyr.*

14. Pa fudd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd. Y mae'r awdwr yn ei gymeryd ar ei air, heb ymdroi i holi a ydyw'n dweyd y gwir, ac yn gofyn, a bwrw fod ganddo ffydd, Pa fudd sydd o hynny, heb fod ganddo weithredoedd?

A ddichon ffydd ei gadw ef? Y mae ffurf y cwestiwn yn dangos mai 'Nag' ydyw'r ateb i fod. *Tybed y dichon ffydd ei gadw ef?*

* Er fod y *ddeddf* yn cynnwys y ddeddf foesol. † Titus iii. 4-5.

15 gadw ef? Eithr os bydd brawd neu chwaer yn noeth,
16 ac mewn eisieu beunyddiol ymborth, A dywedyd o un o
honoch wrthynt, Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch,
ac ymddigonwch; etto heb roddi iddynt angenrheidiau y
17 corph; pa lês *fydd?* Felly ffydd hefyd, oni bydd ganddi
18 weithredoedd, marw ydyw, *a hi* yn unig. Eithr rhyw un a

---

**15. Eithr os bydd brawd neu chwaer yn noeth ac mewn eisieu beunyddiol ymborth.** Nid oes dim eithr yn y copïau goreu.

**16.** Gallai rhai deimlo'r pwnc yn un pell ac anhawdd, fel pwnc noeth: ond fe'i deall pawb ef mewn cyffelybiaeth.

**A dywedyd o un o honoch wrthynt, Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymddigonwch.** Nid yw o bwys penderfynu pa un, ai y Saesneg ai y Cymraeg, sy gywiraf yn y fan yma. Y mae y ffurf ganol a'r ffurf oddefol i'r rhan yma o'r ferf yn digwydd bod yr un un; ac y mae yr ystyr yr un un hefyd, fel y mae yn eithaf posibl na chododd y cwestiwn pa un ai 'Twymner chwi,' ai 'Ymdwynwch,' oedd yr ystyr, ddim o gwbl yn meddwl Iago.

**Eto heb roddi iddynt angenrheidiau y corff.** Ai celwydd fyddai hynny? Nage'n hollol, na gwir chwaith: ynfydrwydd digymysg, gofyn bendith ar fwrdd gwâg. Rhowch ei fod o'n dywedyd yn hollol onest, **Pa les fydd?** Yr un geiriau'n union a 'Pha fudd yw?' yn adn. 14.

**17. Felly hefyd ffydd, oni bydd ganddi weithredoedd, marw ydyw, a hi yn unig.** Neu yn well, *Marw ydyw ynddi ei hun* (Dr. M.) Os nad oes yna weithredoedd, nid oes yna ddim ffydd chwaith. Nid oes yna ond proffes wag o honi. Nid yw son am dani hi ar y tir yna, ddim ond arfer geiriau heb ystyr iddynt. Byddwn ni yn dweyd y gair 'duwiol' weithiau gyd â'r oslef honno sy'n bwyta hanner ystyr y gair. 'Y mae hwn-a-hwn,' meddem ni, 'yn dduwiol,' fel pe buasai hynny y peth salaf y gallesid ei ddweyd am ddyn. Wedi gosod arno yn hallt ddiarbed, 'Wedi'r cwbl, y mae yn dduwiol.' Cam â geiriau, meddai Iago; 'ffydd, oni bydd ganddi weithredoedd, marw ydyw, hi ei hunan,' mor farw a geiriau elusengarwch, yn diffodd ac yn darfod ar wefusau y sawl a'u llefarodd.

18-20.—*Teimlad heb ffrwyth.*

**18. Eithr rhyw un a ddywed.** *O ran hynny fe ddywed rhyw un.* Neu, *Fe all rhyw un ddywedyd.* Nid cyferbyniad â'r hyn a ddywedwyd o'r blaen sydd yma, namyn parhad o hono. 'Ie,' neu, 'Yn wir,' sydd gan y cyfieithiad Saesneg yn lle 'eithr.' Gŵr o synwyr cyffredin, fel y dywed Plumptre, ydyw y 'rhywun' yma, yn cyfarch gŵr y broffes uchel sy'n gwneud crefydd o adrodd ei gyffes ffydd; fel pe dywedasai Iago, 'gwyliwch chwi i ddyn distaw, a llai o lawer o honiadau ganddo, newyddian, fe allai, heb orphen ei hyfforddi yn yr athrawiaeth, roi'r prawf syml yma arnoch chwi.' 'Tydi, ffydd sydd gennyt; minnau, gweithredoedd sydd gennyf; dangos i mi dy ffydd di heb dy weithredoedd (peth

ddywed, Tydi ffydd sydd gennyt, minnau gweithredoedd sydd
gennyf: dangos i mi dy ffydd di heb dy weithredoedd, a
minnau wrth fy ngweithredoeddd i ddangosaf i ti fy ffydd
innau. Credu yr wyt ti mai un Duw sydd; da yr wyt ti yn 19
gwneuthur: y mae y cythreuliaid hefyd yn credu, ac yn
crynu. Eithr a fynni di wybod, O ddyn ofer, am ffydd heb 20
weithredoedd, mai marw yw? Abraham ein tad ni, onid o 21

---

na elli di ddim), a minnau wrth fy ngweithredoedd i a ddangosaf i ti fy ffydd innau.' Gall efe ddangos y ddau, ffydd a gweithredoedd, tra na elli di haeru fod dim ond un gennyt, na phrofi fod hynny gennyt chwaith; oblegid, a chaniatau fod ffydd yn bod, peth na ellir ei ganiatau yn ol yr adnodau o'r blaen—eto nid oes dim prawf o'i bod hi heb weithredoedd. Os yw ffydd yn bod hefyd, bod y mae hi fel teimlad digynnyrch yn yr enaid, heb ddim i ddwyn tystiolaeth iddo ond proffes noeth. Ond pwy a feiddiai ddweyd fod ffydd felly yn werth ei galw'n ffydd.

19. **Credu yr wyt ti mai un Duw sydd.** Yn ol y cyfysgrifau goreu, a'r Testament Peshitto, cyfieithiad pur hen, *Credu mai un yw Duw.* Dyma'r darlleniad sy'n cyd-daro oreu â'r adnod yn Deuteronomium (Deut. vi. 4), a hwn sydd gan Ddiwygwyr y Cyfieithiad Saesneg yng nghorff y llyfr, ond fod y llall ar ymyl y ddalen.

**Da yr wyt ti yn gwneuthur.** Da iawn cyn belled ag y mae hynny yn myned, ond nid digon da o lawer.

**Y mae y cythreuliaid hefyd.** Cythreuliaid yr efengylau, y demoniaid, yr ysbrydion aflan fyddai'n meddiannu dynion.

**Yn credu ac yn crynu.** Crynu fel anifail wedi dychryn. Cyfeiriad at yr ysbrydion yn crynu gan arswyd ger bron yr Iesu, ac yn ei gydnabod yn Sanct Duw (Marc i. 24; Marc v. 7).

Ydynt, y maent hwy yn credu ac yn crynu; ond pa drueni dyfnach na sylweddoli presenoldeb Mab Duw heb ei garu; teimlo pwysau ac agosrwydd gwirionedd mawr a pherson mawr, ac eto dymuno ymysgwyd oddi wrth ei ddylanwad? 'Beth sydd i ni a wnelom â thi?' 'A ddaethost ti i'n poeni ni cyn yr amser?' Nid oes dim uffern ddyfnach yng Ngehenna na hyn, cydnabod gwirionedd heb roddi dim ufudd-dod ond o anfodd iddo.

20. **Eithr a fynni di wybod, O ddyn ofer, am ffydd heb weithredoedd, mai marw yw?** Yn ol darlleniad arall, *Mai diffaith* neu *ddiffrwyth yw.* Yr un gair ag a fu mewn ffurf arall yn y papyrau beth amser yn ol, fel enw ar elfen newydd ei darganfod yn yr awyr, 'Argon,' sef diwaith, digynnyrch. Yr oedd yr elfen yma yn yr awyr o hyd heb i neb wybod oddi wrthi. Paham? Dim ond am nad oedd hi da i ddim. Felly ffydd heb weithredoedd, hyd yn oed pe gellid caniatau ei bod hi, nid oes dim prawf o honi, canys nid yw hi'n ateb un diben. Ond y mae hynny'n ormod i'w ganiatau, fel y dengys yr adnodau nesaf.

weithredoedd y cyfiawnhâwyd ef, pan offrymmodd efe Isaac
22 ei fab ar yr allor? Ti a weli fod ffydd yn cydweithio â'i
weithredoedd ef, a thrwy weithredoedd fod ffydd wedi ei
23 pherffeithio. A chyflawnwyd yr ysgrythyr yr hon sydd yn
dywedyd, Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn

---

21-26.—*Corff heb ysbryd.*

Arweinir at y diweddglo sydd yn adn. 26 trwy ddwy esiampl, Abraham a Rahab, y naill yn un uchel iawn a'r llall yn un bur gyffredin o ran cyrhaeddiadau ysbrydol, ond pob un o'r ddwy'n profi fod gweithrediad yn perthyn i hanfod y ffydd sy'n cyfiawnhau.

21. **Abraham ein Tad ni, onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd ef, pan offrymodd efe Isaac ei fab ar yr allor?** (Gen. xxii. 12).

22. **Ti a weli fod ffydd yn cydweithio a'i weithredoedd ef.** Ni fuasai dim gwerth yn y weithred fawr, oni bai ei bod yn weithred ffydd. Yr oedd gwaith addolwyr Moloch yn offrymu eu meibion a'u merched i brynnu cymeradwyaeth eu Duw yn ffieidd-dra. Ffydd Abraham oedd yn dyrchafu ei weithredoedd.

**A thrwy weithredoedd fod ffydd wedi ei pherffeithio.** *Ac mai trwy weithredoedd y perffeithiwyd ffydd.* Yr oedd ffydd mewn credu'r addewid am had; ond rhoi mab yr addewid i fyny wedyn oedd yr orchest fawr.

23. **A chyflawnwyd yr ysgrythyr yr hon sydd yn dywedyd, Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder; a chyfaill Duw y galwyd ef.** Ychwanegiad traddodiadol yw y cymal diweddaf, tebyg i'r geiriau diweddaf o'r Pader gennym ni, geiriau y mae pob sicrwydd nad oeddynt yn y ffurf wreiddiol arno. Dywedir mai gan Philo y ceir y frawddeg yma am y tro cyntaf mewn ysgrifen, er fod geiriau tebyg yn yr Ysgrythyrau, 'Abraham dy garedigol' (2 Chron. xx. 7), ac 'Abraham fy anwylyd' (Es. xli. 8). Dywed Plumptre mai 'cyfaill Duw' y geilw yr Arabiaid Abraham hyd heddyw.

Edrychir ar yr ysgrythyr yma (Gen. xv. 6) fel proffwydoliaeth a sylweddolwyd yn llawn yn offrymiad Isaac. Nid nad yw golygiad Paul hefyd yn un perffaith deg ar y geiriau, fod y cyfiawnder hwn gan y patriarch yn y dienwaediad, ac felly ymhell cyn bod Isaac ganddo; eto fe rowd ystyr lawnach, berffeithiach, i waith Abraham yn credu, ac i waith yr Arglwydd yn cyfrif hynny iddo'n gyfiawnder, pan offrymodd efe ei fab. Dyna'r pryd, o bosibl, y cafodd Abraham ei hun dystiolaeth groew o gymeradwyaeth Duw. 'Nid ydyw Duw,' meddai y Dr. Hughes, 'ddim yn dwyn tystiolaeth i fodolaeth gras nes byddo'r gras yn gweithio. *Gwn weithian dy fod yn ofni Duw.* Fe wyddai o'r blaen; ond yn awr y mae yn gwybod i ddweyd.' Proffwydoliaeth heb ei chyflawni ydyw cyfiawnhad ar wahan i sancteiddhad.

gyfiawnder: a Chyfaill Duw y galwyd ef. Chwi a welwch 24
gan hynny mai o weithredoedd y cyfiawnhêir dyn, ac nid o
ffydd yn unig. Yr un ffunud hefyd, Rahab y buttain, onid o 25
weithredoedd y cyfiawnhâwyd hi, pan dderbyniodd hi y cen-
hadau, a'u danfon ymaith ffordd arall? Canys megis y mae 26
y corph heb yr yspryd yn farw, felly hefyd, ffydd heb weith-
redoedd, marw yw.

---

24. Chwi a welwch gan hynny mai o weithredoedd y cyfiawnheir dyn, ac nid o ffydd yn unig. Nid yw Iago'n gwadu cyfiawnhad trwy ffydd: dal y mae mai ffydd a gweithredoedd ganddi yw y ffydd sydd yn foddion cyfiawnhad.

25. Yr un ffunud hefyd, Rahab y buttain, onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd hi. Yr oedd yn eithaf hysbys mai ffydd Rahab oedd y peth hynotaf am dani. Fel siampl o ffydd yr enwir hi yn yr unfed ar ddeg o'r Llythyr at yr Hebreaid; a digon tebyg fod y cyfeiriad hwnnw yn dwyn delw dull cyffredin yr Iuddewon o edrych ar Rahab, er nad oes brawf amlwg o hynny; a dyna mae'n debyg ergyd y gair a ddywedir yma. Mynnai ddangos fod esiamplau amlwg o gyfiawnhad trwy ffydd, Abraham a Rahab, yn profi cyfiawnhad trwy weithredoedd.

Pan dderbyniodd hi y cenhadau, a'u danfon ymaith ffordd arall (Jos. ii.). Dyna'i gweithred hi. Wrth wneyd hyn y gadawodd hi ei chenedl ei hun mewn effaith, ac y ffodd i gysgod cyfamod Duw Israel. Eithr heb hyn, beth ond gwegi fuasai ei hymddiried hi yn Nuw.

26. Canys megis y mae y corff heb yr ysbryd yn farw, felly hefyd ffydd heb weithredoedd, marw yw. Fel arall y buasem ni'n dywedyd, 'Ysbryd heb gorff;' ond y mae Iago wedi dywedyd hynny yn yr adran o'r blaen. Y mae ffydd heb weithredoedd fel teimlad, heb na gwaith na ffrwyth yn ei ddilyn; dyna un olwg. Tybia yr olwg yna, er mwyn ymresymiad, fod y teimlad yn un gwirioneddol; ond er mwyn ymresymiad yn unig y gwneir hynny. Mewn gwirionedd y mae y ffydd hon yn waeth na bod yn deimlad heb ddim i'w ddangos. Nid yw y teimlad ei hunan wedi meddiannu'r dyn yn llwyr. Y mae gweithrediad yn hanfodol i deimlad o'r iawn ryw; a lle mae teimlad heb waith, megis yn yr ysbrydion aflan hynny, neu yng ngwrandawyr cyndyn y gair, teimlad yn cael ei fygu a'i ddiffodd o hyd ydyw, teimlad nad yw y neb a'i prawf yn ymroi iddo o ddifrif. Y mae rhyw edefyn o weithrediad yn elfen hanfodol mewn ffydd. Weithiau fe fydd hwnnw yn rhywbeth mawr, rhwymo'r uniganedig ar allor y poethoffrwm; ond weithiau hefyd bydd yn beth bychan iawn, fel gwaith Rahab yn derbyn y cenhadon, gweithred nad oedd yn gwbl lân oddi wrth fradwriaeth tuag at ei phobl ei hun; ond rhaid fod gwaith yno mewn rhyw wedd, onide ni bydd ffydd ddim yn bod. Yn y ddwy ddiareb o'r blaen, rhywbeth yn cydfyned â ffydd oedd gweithredoedd, cymwynas yn cydfyned â geiriau cymfforddus, ufudd-dod yn cydfyned â chydnabod y gwirionedd; ond yma nid cydfyned â ffydd, na'i dilyn hi, y mae yr ufudd-dod. Na, y mae yn rhan o honi. Y mae ffydd yn farw, yn ol y drydedd ddiareb, nid am nad yw ei chydymaith

naturiol gyd â hi, ond am nad yw hi ei hun ddim yn gyfan. Gweithredoedd ydyw enaid ffydd.

Er mai peth y gall y gwan ei wneud ydyw credu, gwendid ydyw hwnnw ag ynddo ddechreuad pob nerth. Gwendid ydyw yn ymaflyd yn nerth Duw, ac yn cydweithio'n fywiog âg ef. 'Etholedigion i ufudd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist.* Y foment y down ni dan arwydd y gwaed, ni a ddown hefyd yn ddilynwyr ufudd i Fab Duw. Y mae ffydd yn gweithio y foment gyntaf y daw hi i fod. Y mae gwirionedd yr efengyl yn wirionedd mor agos ei berthynas â'n bywyd na ellir mo'i gredu heb fod hynny, o angenrheidrwydd, yn cynnwys ufuddhau. 'Wedi puro eich eneidiau gan ufuddhau i'r gwirionedd.'† Yng Nghrist Iesu ni âll enwaediad ddim, na dienwaediad, ond ffydd yn gweithio trwy gariad.'‡ Iё, ffydd yn gweithio. Gras gwaith ydyw ffydd yn nysgeidiaeth Paul yn gystal ag eiddo Iago a Phedr. 'Gan gofio yn ddibaid waith eich ffydd chwi, a llafur eich cariad, ac ymaros eich gobaith yn ein Harglwydd Iesu Grist ger bron Duw a'n Tad.'§ Yr hyn ydyw llafur ymroddedig i gariad, a'r hyn ydyw ymaros i obaith, dyna ydyw gwaith i ffydd. Gras gwaith ydyw ffydd; a gresyn i neb erioed feddwl dadbriodi y ddau.

Gwelwn bellach, wedi i aspri hen ddadreuon pwysfawr ddofi ychydig, mai rhy gyfyng yw y golygiad efengylaidd cyffredin, o'i gyferbynnu â'r un ysgrythyrol, fod elfen o garitor mewn ffydd o'r cychwyn, ond fod y gweithredoedd, fel y ffydd honno y maent yn hanfodol iddi, yn waith gras. 'Ei waith ef ydym, wedi ein creu yng Nghrist Iesu i weithredoedd da.' Ond, megis y mae y corff heb yr ysbryd yn farw, felly hefyd 'ffydd heb weithredoedd, marw yw.'

* 1 Pedr i. 2. † 1 Pedr i. 22. ‡ Gal. v. 6. § 1 Thes. i. 3.

## PENNOD III.

NA fyddwch feistriaid lawer, fy mrodyr; gan wybod y 1

---

III. 1--IV. 10.—MEISTRIAID LAWER.

Y mae y gyfran yma, fel y bennod o'r blaen, yn dweud ei thestyn yn y geiriau cyntaf. 'Na fyddwch feistriaid lawer, fy mrodyr.' Felly dyma ni wedi dyfod at yr ail wedd ar y rhwystr mawr i frawdgarwch, awydd anghymesur am y blaen. Yn y gyfran o'r blaen yr ydys yn beio'r eglwys am roddi'r blaen i rai am resymau anheilwng; ac yma yr ydys yn beio arnynt hwythau am fod mor chwannog i gymeryd y blaen.

Y mae'r dosbarth blaenllaw y mae Iago'n anelu cynnifer o'i saethau ato yn eangach na'r dosbarth cyfoethog. Digon posibl fod aml un y pryd hwnnw, fel y mae eto, o herwydd eu cyfeillach a'u cysylltiadau â boneddigion, i'w cyfrif, o ran eu rhagfarnau, yr un ffordd; a gwyddom yn dda fod ym mhob oes rai dynion yn dyfod i'r brig yn anibynnol ar ddim teilyngdod, trwy ystrywiau, trwy eu parodrwydd i gymeryd mantais ar ddifaterwch eu brodyr, ac ar wylder dynion gwell na hwy. Yn wir, y mae rhyw fath o wobr i uchelgais noeth. Ond i ddyn geisio'r blaen yn o selog, ac yn o hir, nid yw cymdeithas, hyd yn oed yn eglwys Dduw, eto'n ddigon pur i'w gadw ef i lawr. Gwir mai am ennyd y caiff fwynhau ei oruchafiaeth; daw pobl i weled trwy beth felly; ond fe gaiff uchelgais haerllug yn aml deyrnasu am ryw hyd. O ganlyniad y mae pechodau y rhan yma o'r llythyr, fel rhannau eraill, yn bechodau parod i amgylchu dosbeirth blaenllaw cymdeithas, a chynnwys yn hynny, heblaw'r cyfoethogion, y dosbarth swyddogol mewn byd ac eglwys, pawb sy'n berchen mwy na chyffredin o fanteision addysg, pawb sy'n meddu rhywfaint o dalent, y rhai sydd mewn swyddi anrhydeddus, ac yn enwedig y rhai sydd yn methu eu cael.

Gellir dosrannu y gyfran dan sylw fel hyn:—

iii. 1, 2.—i. Pawb yn llithro.
iii. 3-12.—ii. Y tafod.
iii. 13-18.—iii. Y ddwy ddoethineb.
iv. 1-10.—iv. Ysbryd y byd.

1, 2.—*Pawb yn llithro.*

1. **Na fyddwch feistriaid lawer, fy mrodyr.** *Na cheisiwch fod yn feistriaid lawer* (Dr. M.). *Na fyddwch athrawon lawer.* Y cyfieithiad Groeg o'r gair Rabbi (gwel Ioan i. 39). Y mae pwyslais hefyd ar y cyfarchiad, 'Fy mrodyr,' a chyfeiriad, yn sicr braidd, at eiriau ein Harglwydd (Mat. xxiii. 4-10) am yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid. 'Y maent yn rhwymo beichiau trymion ac anawdd eu dwyn, ac yn eu gosod ar ysgwyddau dynion; ond nid ewyllysiant eu syflyd hwy ag un o'u bysedd. Ond y maent yn gwneuthur eu holl weithredoedd er mwyn eu gweled gan ddynion; canys y maent yn gwneuthur yn llydain eu phylacterau, ac yn gwneuthur ymylwaith eu gwisgoedd yn helaeth: a charu y maent y lle uchaf mewn gwleddoedd, a'r prif-gadeiriau yn y synagogau, a chyfarch yn y marchnadoedd, a'u galw gan ddynion, Rabbi, rabbi. Eithr na'ch galwer

2 derbyniwn ni farnedigaeth fwy. Canys mewn llawer o
bethau yr ydym ni bawb yn llithro. Od oes neb heb lithro
ar air, gwr perffaith *yw* hwnnw, yn gallu ffrwyno yr holl
3 gorph hefyd. Wele, yr ydym ni yn rhoddi ffrwynau ym

---

chwi Rabbi; canys un yw eich athraw chwi, sef Crist; a chwithau oll brodyr ydych. Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear; canys un Tad sydd i chwi, yr hwn sydd yn y nefoedd. Ac na'ch galwer yn athrawon, Canys un yw eich Athraw chwi, sef Crist.'

Gan wybod y derbyniwn ni farnedigaeth fwy. Gan fod dyn i'w farnu yn ol ei fanteision, y mae cyfrifoldeb y gŵr sy'n gwybod digon i ddysgu eraill gymaint a hynny'n fwy, fel nad yw lle athraw yn lle i'w ddeisyfu, heb gofio fod iddo ei faich yn gystal a'i fri. Cymh. Rhuf. ii. 17-25.

2. Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro. *Yn tramgwyddo,* neu *yn tripio.* Yr un gair ag sydd yn ii. 10 am 'ballu mewn un pwnc.' Nid yw y goreu o honom yn ddigon diesgeulus ei rodiad i fod ar dir teg i chwennych swydd athraw heb fod yn gymysg â hynny lawer o ofn ei chyfrifoldeb hi.

Od oes neb heb lithro. *Heb dramgwyddo.* Ar air. Nodir yn enghraifft o'r llithro y peth tebycaf i'r terfysgwyr swyddgar fod yn euog o hono, rhoi cam gwag yn eu geiriau.

Gwr perffaith yw hwnnw. Un rhan o'n buchedd ni yw ein siarad; ac eto y mae tripio yn y rhan yma'n beth mor gyffredin, fel os oes eithriad, mai gŵr perffaith yw hwnnw. Fel pe dywedasid, 'Dangoswch i mi ŵr nad yw byth yn llithro ar air, mi ddangosaf finnau i chwi ŵr perffaith,' gŵr wedi tyfu, o ran ei gynheddfau ysbrydol, i'w gyflawn faint.

Yn gallu ffrwyno yr holl gorff hefyd. Yn y gair hwn y mae'r ddolen gydiol â'r adran sy'n dilyn ar y tafod. O feddwl mor eithriadol ydyw cael neb heb lithro ar air y mae'r awdwr yn troi'n naturiol at yr ystyriaeth gyferbyniol, gymaint o lywodraeth fyddai gan ddyn ar ei holl aelodau pe dysgai lywodraethu ei dafod. Y mae'n amlwg mai dyna'r cysylltiad; oblegid yn adn. 7-12 daw Iago yn ol at brif feddwl yr adnod hon, mor anawdd ydyw trin y tafod.

### 3-12—*Y tafod.*

Wedi rhoi'r cyngor sydd yn destyn y gyfran i gyd, 'Na fyddwch athrawon lawer,' a rheswm dros hynny, 'Mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro,' nodir peryglon y rhai yr oedd arnynt eisieu'r cyfryw gyngor; a'r perygl a enwir ydyw pechu â'r tafod. Ni a welwn bwysigrwydd y tafod wrth ystyried dau beth: (1) fod y tafod yn effeithio ar ein holl natur, 3-6; (2) fod y tafod ei hunan yn un o'r pethau anawddaf eu trin, 7-12.

### 3-6.—*Y tafod yn effeithio ar ein holl natur ni.*

3. Wele, yr ydym yn rhoddi ffrwynau yn mhennau y meirch. Cyfieithiad o'r gair 'genau' neu 'safn' ydyw 'pen' yn y fan

mhennau y meirch, i'w gwneuthur yn ufudd i ni; ac yr
ydym yn troi eu holl gorph hwy oddi amgylch. Wele, y 4
llongau hefyd, er eu maint, ac er eu gyrru gan wyntoedd
creulawn, a droir oddiamgylch â llyw bychan, lle y mynno
y llywydd. Felly hefyd y tafod, aelod bychan yw, ac yn 5
ffrostio pethau mawrion. Wele, faint o ddefnydd y mae
ychydig dân yn ei ennyn! A'r tafod, tân *ydyw*, byd o 6

---

yma. Arferir ef felly hyd heddyw mewn rhannau o Ddeheudir Cymru, ac mewn ymadroddion yn y Gogledd, megis hwnnw, 'Yr un gair o'i ben.'

**I'w gwneuthur yn ufudd i ni; ac . . .** Y mae'r 'ac' yn colli'n ol y darlleniad goreu. *Os rhown ni ffrwynau'r meirch yn eu pennau i'w gwneuthur yn ufudd i ni.*

**Yr ydym yn troi eu holl gorff hwy oddiamgylch.** Eithr nid yw'r darlleniad yna'n newid dim o bwys ar yr ystyr. Agorir yma'r gymhariaeth a awgrymir yn niwedd yr adnod o'r blaen. Yn i. 26 sonir am ffrwyno'r tafod. Y tafod yno ydyw'r march anhydrin; ond yma holl gorff y dyn, neu, o ran hynny, ei holl natur, yw y march, a'r tafod ydyw'r ffrwyn.

4. **Wele, y llongau hefyd, er eu maint, ac er eu gyrru gan wyntoedd creulawn.** *Gwyntoedd geirwon.* **A droir oddiamgylch a llyw bychan.** *Bychan iawn. Bychan bach* (W. S.). **Lle y mynno y llywydd.** *Lle y mynno tueddfryd y llywydd* (C. D.), neu, *Lle y mynno ysgogiad llaw'r llywydd* (Mayor). Gallesid meddwl yr âi'r tafod gyd â'r dyn, ond gallesid meddwl, yr un fath yn union, mai y llong sy'n myned â'r llyw gyd â hi; ac y mae y ddau yn wir; ond y mae peth arall mor wir a hynny, ac yn fwy ymarferol gwirionedd o lawer iawn, mai y llyw sydd yn troi'r llong. Yr un ffunud, ynte, y mae y tafod, heb law bod yn goel o garitor dyn, ac yn ffrwyth ei dymherau, yn effeithio'n ol ar y tymherau, ac yn penderfynu llwybr y dyn. Clywir ambell un yn dywedyd, 'Ni waeth i mi ddweud peth na'u feddwl ef.' Ni fu erioed fwy camgymeriad. Nid dangos yr hyn sydd oddi mewn yn unig y mae ein siarad ni, ond sefydlu neu newid cwrs ein bywyd. Y mae y tafod yn hyn yn wahanol i'r aelodau eraill. Y maent hwythau, fel hwn, yn offerynnau da a drwg; ond am hwn, y fath ydyw ei gysylltiad â'n meddwl, fel y mae yn troi hwnnw, yn gystal a chael ei droi ganddo. Pwy na weddïai bob dydd, 'Gosod, Arglwydd, gadwraeth o flaen fy ngenau, cadw ddrws fy ngwefusau.'

5. **Felly hefyd y tafod, aelod bychan yw, ac yn ffrostio pethau mawrion.** Ac, fel y dywed Dale, y mae yr ymffrost yn wir. Fe all y tafod bethau mawrion, er drwg ac er da. Y mae ein geiriau, heb law gwella neu lygru eraill, yn ein llygru neu yn ein gwella ni.

**Wele, faint o ddefnydd y mae ychydig dan yn ei ennyn.** *Wele, gymaint o goed*, neu *goedwig mor fawr, y mae cyn lleied o dân yn ei ennyn.*

6. **A'r tafod, tan ydyw.** Dyma drydedd cymhariaeth i ddangos adweithiad geiriau dyn arno ef ei hunan; ac y mae hon, mewn rhyw

anghyfiawnder. Felly y mae y tafod wedi ei osod ym mhlith ein haelodau ni, fel y mae yn halogi yr holl gorph, ac yn gosod troell naturiaeth yn fflam; ac wedi ei wneuthur yn

---

bethau, yn myned ym mhellach na'r ddwy o'r blaen. Dengys y llyw a'r ffrwyn fod y tafod yn help i benderfynu cwrs ein bywyd ni. Dengys y tân fod y tafod, gyd â hynny, yn cryfhau ein tueddiadau ni at ddrwg, wedi i ni droi y ffordd honno. Fe wna hyn mewn mwy nag un ffordd. Yn un peth y mae llefaru'n cynnwys ymollwng rhyw gymaint gyda'r teimlad y lleferir ynddo, ac felly'n rhwym o ennyn rhywfaint ar y teimlad hwnnw. Hefyd, y mae braidd bob teimlad a gynnyrcho'n geiriau ni mewn eraill yn siwr o ennyn mwy ar ein teimlad ninnau. Bwriwch mai ofn. Beth sydd debycach o yrru dyn i waeth tymer na gweled fod ei dymer ddrwg yn codi arswyd ar bawb o'i ddeutu? Neu eto tybiwch mai cyd-darawiad fyddo rhwng siarad ei gymydog a'i siarad yntau. Fe â yntau druan yn ddeg siccrach wrth gael un arall o'r un feddwl ag ef. Neu os gwrthdarawiad fydd ei eiriau yn ei ddeffro ym meddyliau'i gymydogion, y mae eto'n debycach fyth o ennyn ei gynddaredd. Ac yn hyn oll ei dafod ef ydyw y wreichionen sy'n rhoddi ei natur ar dân. Siarad pobl eraill yn ei glyw ydyw yr awel sy'n cipio'r wreichionen. Nid oes dim son am hynny chwaith yn nameg Iago. Peth arall ydyw ei bwnc ef yma, sef mai nwydau'r dyn ei hunan yw y crinwydd sy'n cymeryd tân.

Byd o anghyfiawnder. Felly y mae y tafod. . . . Cytuna'r beirniaid goreu i gyd na ddylai y gair 'felly' fod i mewn. A gwell, y mae'n debyg, dechreu cymal newydd gyd â'r geiriau 'Byd o anghyfiawnder.' Dyry'r Cyfieithiad Saesneg Diwygiedig golon ar ol 'Tân ydyw.' Darllenwn ym mlaen wedyn fel hyn:—'Y byd o anghyfiawnder ym mhlith ein haelodau ni yw y tafod.' O'r gwahanol esboniadau ar y gair hwn y mae dau debycach lawer o fod yn eu lle na'r lleill: (1) '*Cyfangylch yr anghyfiawnder.*' . . . gan fod y tafod yn crynhoi o'i ddeutu bechodau yr holl aelodau eraill, meddwl sydd i'w gael yn ddiau yn yr adnod a'i chysylltiadau, pa un bynnag a geir ef yn y geiriau hyn ai peidio; (2) '*Y byd anghyfiawn ym mhlith ein haelodau ni ydyw y tafod.*' Golygir yr aelodau—ac ni raid dweud fod hynny'n cynnwys holl natur y dyn—fel cymdeithas o ddynion, a'r tafod fel y byd annuwiol sy'n eu llygru hwynt oll. Hwn ydyw'r syniad tecaf fe allai, oblegid, fel y dywed Mayor, mai 'y byd' a ddywedir. Gallesid dywedyd fod y tafod yn fyd o anghyfiawnder yn yr ystyr gyntaf a nodwyd; ond yr hyn a ddywedir yw, mai efe ydyw *y byd* o anghyfiawnder, sef y gyfundrefn honno o nerthoedd a thueddion sydd y tu allan i gylch dylanwad sancteiddiol yr Yspryd Glân (gwel iv. 4). Y tafod yw y byd annuwiol yna ym mysg ein haelodau ni.

Fel y mae yn halogi yr holl gorff.' *Yr hwn sydd yn halogi.* . . . sef y tafod.

Ac yn gosod troell naturiaeth yn fflam. Y mae'r cyfieithiad Cymraeg yma'r un fath a'r Testament Saesneg Diwygiedig, ac yn dilyn gwell darlleniad, yn ol pob tebyg, na'r un a ddilynir yn y Testament Saesneg cyffredin. 'Cylch naturiaeth,' fe allai, fuasai'r ffigiwr cyfatebol yn null-wedd yr ieithoedd diweddar. Y mae troell yn well, gan ei fod yn golygu'r cylch, a'r cwbl sydd ynddo. Ystyria Huther a Mayor, gyd â chryn

fflam gan uffern. Canys holl natur gwŷllt-filod, ac adar, ac 7

briodoldeb, mai y tafod sy'n ateb i foth neu echel yr olwyn neu y droell. Y mae'r droell yn cymeryd tân yn ei chanol, a'r fflam yn ymledu i bob cwr. Siarad y dyn, mewn rhyw ystyr, yw canolbwnc ei fywyd. O amgylch hwnnw y mae'r cwbl yn troi. Siarad ydyw'r mynegiad rhwyddaf a mwyaf cyffredin o'i fyfyrdodau. Dyma sy'n ei gysylltu ef â'i gyd-ddynion. Nid oes dim un ffurf arall y gall braidd bob pechod ei chymeryd. Gall y tafod roi ymarferiad i bob nwyd ddrygionus. Y mae priodoldeb mawr yn y sylw sydd gan Dr. Dale ar y darn cyntaf o'r adnod, er nad yw efe'n dewis yr esboniad a ddewiswyd yma. 'Y mae terfyn pendant i'r pechodau y gellir eu cyflawni â phob aelod arall o'r corff, y llaw neu y llygad, er esiampl. Gall y llaw roi ergyd greulawn, angeuol; gall y llygad fod yn weinidog chwant; . . . ond am y tafod, nid oes yr un o ddeddfau Duw nas gall efe ei thorri. . . . Nid oes yr un nwyd bechadurus nas gellir ei mynegi mewn siarad.' Yn wir nid fel cynrychiolydd dosbarth neillduol o bechodau, ond fel llwybr y gall pob rhyw bechod ei gymeryd yr ystyrir y tafod yma. Yn ol pob tebyg y mae llygad Iago ar eiriau yr Arglwydd Iesu ar yr un pwnc. 'Y pethau a ddeuant allan o'r genau, sydd yn dyfod allan o'r galon; a'r pethau hynny a halogant ddyn. Canys o'r galon y mae meddyliau drwg yn dyfod allan, lladdiadau, torpriodasau, godinebau, lladradau, camdystiolaethau, cablau' (Mat. xv 18, 19). Dyma y pethau sydd yn halogi dyn. Y mae ar y rhestr yna rai beiau a berthynant yn bennodol i ddosbarth pechodau'r tafod; ond y mae yma rai gwahanol iawn i hynny hefyd. Cymerwn un yn engraifft, 'lladradau.' Pechod pell iawn o fod yn bechod y tafod ydyw lladrad, pechod diarebol o ddistaw yn wir.

'Mal lladron dison y daw;'

ebai'r prydydd; ac eto i gyd, pan elo hi'n gytundeb rhwng mwy nag un lleidr, dyna bechod distaw y lleidr wedi myned yn bechod y tafod. Y mae lle'r tafod, fel cyfrwng parotaf y meddwl, ac fel y ddolen gydiol rhwng dyn a'i gyd-ddynion, yn ei wneud ef yn llwybr y gall pob math ar bechod ei ddefnyddio. Pob pechod a all fyned yn bechod cymdeithas, yn bechod rhwng mwy nag un, fe all hwnnw fyned yn bechod y genau.

Ac wedi ei wneuthur yn fflam gan uffern. *Gehenna.* 'Glyn mab Himom' (Jos. xviii. 16). Y lle y buasid gynt yn addoli Moloch ynddo, trwy aberthu plant iddo (Jer. vii. 31). Halogwyd y lle gan Josiah frenin (2 Bren. xxiii. 10), a gwnaed ef yn lle i fwrw carthion y ddinas iddo. Y dyffryn hwn yw mangre cosb yr Iuddewon anuwiol yn 'Llyfr Enoch.' Dyma'r gair sydd yn nysgeidiaeth ein Harglwydd am y man lle y cospir yr anuwiol. Ni cheir ef yn y Testament Newydd ond yn yr Efengylau, ac yma yn Epistol Iago. Dyma'r unig air yn y Testament Newydd y mae uffern yn gyfieithiad hollol gywir o hono. 'Hades,' y gair cyffredinol am drigfa'r meirw, a gyfieithir yn 'uffern' mewn amryw fannau.

7-12.—*Mor anawdd trin y tafod.*

Etyb y gymhariaeth o 'dân' ddau ddiben. Hi ddaw i mewn i ddangos dylanwad geiriau dyn arno ef ei hunan; ond, heb law hyn, hi saif yn arweiniad naturiol i'r darn nesaf; oblegid, heb law dangos ei ddylanwad goddeithiol, y mae y tân hefyd yn awgrymu fod y grym a'r dylanwad hwn

ymlusgiaid, a'r pethau yn y môr, a ddofir ac a ddofwyd gan
8 natur ddynol: Eithr y tafod ni ddichon un dyn ei ddofi;
drwg anllywodraethus *ydyw*, yn llawn gwenwyn marwol.
9 Ag ef yr ydym yn bendithio Duw a'r Tad; âg ef hefyd yr
ydym yn melldithio dynion, a wnaethpwyd ar lun Duw.

---

yn rhyfeddol o'r dilywodraeth. A thyna ystyr y 'canys' yn nechreu adn. 7.

7. Canys holl natur gwylltfilod. *Anifeiliaid* (W.S.). *Pob rhywogaeth o wylltfilod.* Ac adar, ac ymlusgiaid, a'r pethau yn y mor, a ddofir. *Y mae'r peth yn bosibl, ac a ddofwyd. Y mae'r peth wedi cael ei wneud gan natur ddynol.* Neu gan *ddynolryw.* Barna Mayor y gallai fod yr awdwr, wrth ddweud 'pob rhywogaeth o greaduriaid,' yn lle 'pob creadur,' yn gadael lle i eithriadau unigol, er fod rhyw rai o bob rhywogaeth braidd wedi dygymod â'r oruchwyliaeth.

8. Eithr y tafod ni ddichon un dyn ei ddofi. *Neb rhyw ddyn* (Dr. Morgan). Pwyslais disgyn ar y gair 'dyn.' Dyfynna Mayor sylw cyrhaeddgar o waith Awstin. 'Nid yw'n dywedyd, Y tafod ni ddichon neb ei ddofi, ond, Ni ddichon neb dynion, er mwyn i ni addef, pan y dofir ef, mai trwy drugaredd Duw, trwy gymhorth Duw, trwy ras Duw, y gwneir hynny.' Pwy sydd yn dofi ym mhob man ond natur uwch na'r un yr ydys yn ei dofi? Gan ddynol ryw y dofir pob rhyw o greaduriaid: ond pwy a all ddofi natur dyn? Pwy ond natur uwch na'i natur yntau? Fe gymer nwydau cyndyn dyn, y nwydau y mae y tafod yn eu cynrychioli, fe gymer y rhain eu dofi trwy gwmpeini'r Ddwyfol anian. Cymdeithas y natur uwch yn dofi'r natur is, dyna ydyw gras.

Drwg anllywodraethus ydyw. Ag arfer gair gwlad, *Drwg anosbarthus*, drwg na wyddys ym mha le i'w gael. Yr un gair ag a geir yn i. 8, ac a gyfieithir yno 'anwastad,' ac enw wedi ei ffurfio o hono sydd yn adn. 16 o'r bennod hon: cyfieithir ef yno'n 'derfysg.' Fel nas gellir bod yn siwr o'r gŵr ddau-ddyblyg ei feddwl, anwastad yn ei holl ffyrdd, fel nas gellir ymddiried i'w ffyddlondeb ef i ddaioni, felly ym myd y drygau, y mae y tafod, wedi ei droi at yr hyn sydd ddrwg, yn fai mor aneddfol na allwn ni byth braidd fod yn sicr ein bod wedi ei orchfygu, gan amledd yr ystrywiau sydd ynddo. Pan y tybio dyn ei hun ddiogelaf, dyna'r pryd, hwyrach, y tyr y drwg allan ffyrnicaf.

Yn llawn gwenwyn marwol. Gwel Salm lviii. 4-5 a Salm cxx. 3-4.

9. Ag ef yr ydym yn bendithio Duw a'r Tad. *Yr Arglwydd a'r Tad*, yn ol y darlleniad goreu.

Ag ef yr ydym yn melldithio dynion a wnaethpwyd ar lun Duw. Dyma sy'n ei wneud yn ddrwg anllywodraethus. Nid yw fod dyn yn defnyddio'i dafod i fendithio'r Arglwydd yn un warant sicr na chaiff yr un tafod ei ddefnyddio i felldithio hefyd. Ac o ran hynny y gweddïwr wedi colli'r ffordd ydyw y rhegwr. Ond pa fendithio Duw ydyw hwnnw y gall y dyn ei wneud, a melldithio llun Duw bob yn ail? Y mae gormod o ol llaw Duw ar y dyn gwaethaf i'w felldithio gan neb sydd yn

O'r un genau y mae yn dyfod allan fendith a melldith. Fy 10
mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fod felly. A ydyw ffynnon 11
o'r un llygad yn rhoi *dwfr* melus a chwerw? A ddichon y 12

---

adnabod y Duw hwn. Ac os yw llun Duw'n aneglur ac amherffaith, y mae yr hyn a all gras Duw ei wneuthur o hono yn cysegru hyd yn oed y pechadur.

10. O'r un genau y mae yn dyfod allan fendith a melldith. Heb law fod bendithio Duw a melldithio dyn yn anghyson, y mae bendithio a melldithio o gwbl yn anghyson, y ddau deimlad felly, ar wahan i'w gwrthrychau. Bwriwch nad yw'r dyn yn credu fod Duw, eto y mae yntau'n credu fod daioni yn rhywle, fod gwell a gwaeth yn bod. Y mae hyd yn oed ei regfeydd yn cynnwys, mewn ffordd, honiad, y gŵyr yntau ragor rhwng da a drwg, ac yr adwaenai efe ddaioni pe caffai hyd iddo. Y mae efe, wrth fellditthio, yn dangos fod o'i fewn ryw gynneddf i wybod oddi wrth yr hyn sydd dda; ac os gall efe werthfawrogi daioni yn rhywle, ni ddylai efe mo'i gablu ef yn unlle.

Fy mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fod felly. Y mae y gair 'ni ddylai' yn rhy wan. Gair ydyw yr un a arferir yma yn golygu dyled foesol, a ias o raid ynddi, rhywbeth rhwng dyledswydd a rhaid. Nid hwn ydyw y gair a gawn ni, er enghraifft, yn y ddameg (Luc xvii. 7-10). 'Dywedwch, Gweision anfuddiol ydym, oblegid yr hyn a ddylasem ei wneuthur a wnaethom.' Dyledswydd noeth a olygir yn y fan yna; ond yma rhywbeth cryfach. Y mae'n deg cydnabod nad yw'r awdurdodau'n gwbl gytun ar ystyr y gair hwn, gan ei fod yn un na cheir yn fynych yn y Testament Newydd. Ond y mae Huther, yn un, dros roi ystyr gref iddo; ac y mae pob peth yng nghysylltiadau'r frawddeg yn taro'r un ffordd. Hi saif yng nghanol geiriau cryfion iawn; a chymariaethau cryfion sy'n dilyn; tra y buasai dweud fod y rhagrith, a'r hunandwyll, a'r caledwch a ddarlunir yma yn bethau na ddylent fod, yn yr ystyr o ddweud eu bod yn bethau o'u lle, yn ddweud peth rhy blaen i fod yn newydd i neb. 'Rhegi'ch gilydd ac addoli Duw bob yn ail, nid yw yn beth yn ei le.' Pwy ni ŵyr hynny? Beth ydyw pechod ond peth o'i le? 'Anghyfraith yw pechod' Na, buasai dweud hynny, a pheidio dweud dim mwy na hynny, yn ddweud mor wan fel y buasai yn well hebddo. Gair cryf yn ddiau sy'n gweddu i'r cysylltiadau ac i bwysigrwydd y pwnc; a dengys cyffelybiaethau'r ddwy adnod nesaf mai '*Ni ddylai,*' a'i lond o bwyslais ydyw'r ymadrodd hwn. 'Nid gwiw i'r pethau hyn fod felly. Peidiwch a meddwl esgusodi dim ar y fath ymddygiad. Nid yw y meddwl am beth fel hyn ddim i gael moment o groesaw.'

11. A ydyw ffynnon o'r un llygad yn rhoi dwfr melus a chwerw? Cyfieithiad digymhar. Y mae ffynnonau yn ymyl eu gilydd yn rhoddi dau ddwfr gwahanol; a dywedir fod rhai heilltion a chroewon ger llaw i'r Môr Marw, yn y wlad honno; ond 'ffynnon yn rhoi dau ddwfr o'r un llygad' a ddywedir yma. Beth a feddyliem ni pe digwyddai'r fath beth? Onid braw a'n meddiannai, rhag bod rhyw ddaeargryn arswydfawr yn ymyl, neu bod rhyw fynydd tanllyd ar agor o dan ein traed?

pren ffigys, fy mrodyr, ddwyn olifaid? neu winwydden
ffigys? felly ni *ddichon* un ffynnon roddi dwfr hallt a chroyw.
13 Pwy *sydd* wr doeth a deallus yn eich plith? dangosed, trwy
ymarweddiad da, ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra

---

12. **A ddichon y pren ffigys, fy mrodyr, ddwyn olifaid? neu winwydden ffigys?** Prin y mae eisiau dweud mai ffrwyth yr olew-wydden ydyw'r 'olifaid.' Tybia ffurf yr ymholiad yma, fel yn ii. 14, ateb nacäol.

**Felly ni ddichon un ffynnon roddi dwfr hallt a chroew.** Neu yn ol darlleniad gwell, *ni ddichon dwfr hallt roddi dwfr croew* neu *beraidd*. Y mae drygau'r tafod, felly, nid yn droseddau yn erbyn deddf yn unig, ond yn bechodau yn erbyn natur. Y mae pob anian iach yn gwrthdystio yn eu herbyn. Drygau anghenfilaidd ydynt. Y mae braw yn ein cerdded wrth son am danynt, fel pe byddai bren yn dwyn ffrwyth heb law ei ffrwyth cynefin ei hun, neu ffynnon yn rhoi dwfr gwahanol i'w harfer. Dyma'r teimlad y mynnai Iago ei ddeffro ynom at bob pechod, ac at bechod yn y ffurf o siarad—enllib, digofaint, celwydd, gweniaith, ac yn y blaen—y teimlad hwnnw o fraw a chasineb goddeithiol a fydd ynom at ambell i bechod mwy ysgeler na chyffredin, at y llofruddiaeth honno y danghosai y llofrudd wrth ei chyflawni ei fod yn cael hyfrydwch yn ei greulonderau, y twyll hwnnw a gymerodd fantais ar y weddw ddiamddiffyn, y rhysedd a wnaeth gam a diniweidrwydd plentyn bach. Y teimlad a fydd ynom wrth weled y rhai hyn a ddylai ein meddiannu yn ngwyneb y pechodau yr ydym ni yn rhy barod i'w hesgusodi. A pha beth ond hyn ydyw argyhoeddiad o bechod, dedfryd y gydwybod ar ein beiau wedi meddiannu'r holl enaid, wedi cerdded yr holl ddyn?

iii. 13-18.—*Y ddwy ddoethineb.*

Dyma ni bellach yn gadael yr adran sy'n dangos mor hawdd ydyw i rai chwannog i ddysgu eraill fradychu anghymwysder dybryd at hynny trwy eu dull o siarad, wrth feirniadu eu cymydogion, ac wrth hawlio iddynt eu hunain le amlwg yn yr eglwys, a hwythau heb ddysgu elfennau cyntaf crefydd bur (i. 26), heb fedru ffrwyno'r tafod. Ond nid o herwydd eu colliadau personol yn unig y mae y dynion hyn yn anghymwys i arwain eu cyd-ddisgyblion. Heblaw nad yw eu hymddygiad yn gyfartal a'u proffes, y mae eu syniad hefyd am y cymhwysderau i arwain yn gyfeiliornus. Y mae lle i ofni eu bod, oblegid eu parodrwydd i siarad, a'u tymer benderfynol, yn eu cyfrif eu hunain, yn gymhwysach na'r cyffredin i fod ar y blaen. Y maent am y llen a'r gwir gymhwysder i fod yn athrawon i'r angall, a hynny i'r fath raddau nes balchio yn y peth hwnnw sydd yn eu llwyr ddifuddio at y gwaith. Heb yn wybod iddynt aethant i edrych ar eu hymffrost a'u huchelgais eu hunain fel nodau doethineb; a rhybudd Iago iddynt yw, fod gau a gwir ddoethineb, a bod y naill yn hawdd ei chamgymeryd am y llall.

13. **Pwy sydd wr doeth a deallus yn eich plith?** *Pwy sydd* felly, heblaw honni bod?

**Danghosed, trwy ymarweddiad da.** Neu *oddi wrth ei ymar-*

doethineb. Eithr od oes gennych genfigen chwerw ac ym- 14
ryson yn eich calon, na fyddwch ffrostwyr a chelwyddog yn
erbyn y gwirionedd. Nid yw y doethineb hwn yn disgyn 15
oddi uchod; ond daearol, anianol, cythreulig *yw*. Canys 16
lle *mae* cenfigen ac ymryson, yno *y mae* terfysg, a phob
gweithred ddrwg. Eithr y ddoethineb sydd oddi uchod, yn 17

---

*weddiad da*. Ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra doethineb.

14. **Eithr od oes gennych genfigen chwerw ac ymryson** *(ysbryd plaid)* **yn eich calon.** Nid rhaid i'r ymryson dorri allan mewn gweithredoedd, nac yn wir mewn geiriau, i ddangos amddifadrwydd o ddoethineb; y mae ei fod yn y galon, heb son am ddim pellach, yn peri malltod ar eich holl fywyd.

**Na fyddwch ffrostwyr a chelwyddog yn erbyn y gwirionedd.** Y mae y Saesneg yn fwy llythyrennol: 'Na orfoleddwch, ac na ddywedwch gelwydd yn erbyn y gwirionedd.' Yr un gair sy am 'ffrostio' ag sydd am orfoleddu yn erbyn barn (ii. 13). Gwnelsai y tro ddweud, 'Na fyddwch ffrostwyr yn erbyn y gwirionedd,' neu 'Na fyddwch ffrostwyr a chelwyddog.' Er mwyn pwyslais, debyg, y cyfunir y ddau. Am esiampl o beth tebyg gwel y dyfyniad o Lyfr Enoch yn Judas 14-15.

15. **Nid yw y doethineb hwn yn disgyn oddi uchod.** Dyma'r unig le, hyd y gallaf gofio, yn y Beibl Cymraeg, y ceir 'doethineb' yn y rhyw wrywaidd; ac yn adn. 17 y mae y gair yn fenywaidd fel arfer.

**Ond daearol, anianol, cythreulig yw.** *Daearol, anifeilaidd, cythreulig* (Dr. M.). Y ddoethineb sy'n dyfod i'r golwg mewn cenfigen ac ysbryd plaid, mor bell ydyw honno o fod yn gymhwysder i gyfarwyddo eraill, eich tynnu chwi i lawr y mae hi. Daearol ydyw hi ar y goreu (Cymh. 1 Cor. iii. 3). Nid yw yn ddim uwch na dynol, a rhoi'r olwg fwyaf ffafriol arni; ond gwaeth na hynny, dyn yn ei fan isaf y mae hi'n perthyn iddo, y dyn anianol; a gwaeth eto, y mae yn is na dyn yn ei fan isaf. Tebycach ydyw i ddyn wedi ei feddiannu gan ysbryd aflan; oblegid gair ydyw 'cythreulig' o gyfathrach y gair cyffredin am ysbryd aflan yn myned i mewn i ddynion (gwel ii. 19).

16. **Canys lle mae cenfigen ac ymryson.** *Ysbryd plaid.* **Yno y mae terfysg.** *Ansefydlogrwydd.* **A phob gweithred ddrwg.** Pan fo ymbleidio yn yr awyr, a dynion yn ymroi i geisio'r eiddynt eu hunain, fe dry rhai diniwed yn anwadal, ac fe ymollwng rhai o dymer gynhyrfus i ddweud a gwneuthur pethau na fynnent, nes myned yn llawer gwaelach dynion nag y buasent pe caent lonydd i arfer hynny o farn sydd ganddynt.

17. **Eithr y ddoethineb sydd oddi uchod.** Gwel ar i. 2-8. Gwelsom yno fod doethineb yn llanw bron yr un lle yn niwinyddiaeth Iago a 'chariad' gan ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd; ac yma mae

gyntaf pur ydyw, wedi hynny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd, a

---

amryw o briodoleddau doethineb yr un rhai, o ran sylwedd, a phriodoleddau cariad yn 1 Cor. xiii. 4-7. Ceir yno yr un cyfuniad o rinweddau cryfion a rhinweddau tyner ag a geir yma.

**Yn gyntaf pur ydyw.** *Yn gyntaf* o ran pwysigrwydd, fel sail y cwbl, nid o ran trefn enwi yn unig. Ar ddosbarth arall o rinweddau y mae pwyslais yr adnod; ond rheitiaf yn y byd cydnabod yn glir nad yw'r ddoethineb sydd oddi uchod ddim yn aberthu purdeb er mwyn heddwch. 'Dilynwch heddwch a phawb, a sancteiddrwydd, heb yr hwn ni chaiff neb weled yr Arglwydd' (Heb. xii. 14).

Fe allai fod dosbarthiad Stier ar yr adnod cystal a dim: cymeryd 'pur ydyw' yn ddarluniad cyffredinol, a'r saith gras sy'n dilyn yn wahanol agweddion ar y purdeb hwn, neu yn wahanol ffrydiau o hono. A newid y ffigiwr, gallem edrych ar y purdeb yma fel y goleu gwyn, ac ar y saith gras fel seithliw yr enfys, y rhai sydd i'w gweled i gyd, â gwydr cyfaddas, yn y goleu gwyn.

**Wedi hynny heddychlawn.** 'Gwyn eu byd y tangnefeddwyr' (Mat. v. 9).

**Boneddigaidd.** Un o eiriau mawr y Testament Newydd. Cyfieithir yr enw sy'n ateb iddo, yn yr Apocrypha, Doethineb ii. 19, yn 'addfwynder,' 'hynawsedd' 2 Cor. x. 1, 'arafwch' Phil. iv. 5; a chyfieithir yr ansoddair ei hun yn 'dirion' 1 Tim. iii. 3; Titus iii. 2. Hwyrach mai 'hynaws' fyddai'r cyfieithiad goreu. Golyga'r gair y tegwch anrhydeddus hwnnw sy'n myned tu·hwnt i gyfiawnder noeth.

**Hawdd ei thrin.** Gallai fod hwn yn golygu ein hymddygiad ni at rai uwch na ni, a 'boneddigaidd,' os yr un, yn golygu'n hymddygiad at rai cydradd neu îs na ni. (Cymh. Dale).

**Llawn trugaredd a ffrwythau da.** Os cywir cyfrif fod yma saith gras, heb law'r cyntaf, rhaid rhoi hwn yn ddau, 'llawn trugaredd' a 'llawn ffrwythau da.' *Llawn trugaredd at ddynion, a ffrwythau da tuag at Dduw*, hwyrach; oblegid dwyn ffrwyth i Dduw ydyw ystyr gyffredin dwyn ffrwyth yn yr ysgrythyrau. Gwel Rhuf. vii. 4, Mat. xiii. 23, Ioan xv. 8.

**Diduedd.** Gair a ddewiswyd, fel yr awgryma Plummer, mewn rhan beth bynnag, o herwydd y cyffelybrwydd sŵn sydd ynddo i'w gymar yn yr adnod. Y mae 'diduedd' a 'diragrith' yn y Testament Groeg yn eiriau o'r un gwreiddyn, er nad o'r un boncyff; a phair hynny ryw dinc o odliad wrth eu dweud gyda'u gilydd. Dyry'r esbonwyr res o gyfieithiadau gwahanol o'r gair 'diduedd.' 'Diduedd' yw y Cymraeg a'r Saesneg. 'Di-ddosbarth' yw W. Salesbury. 'Diymrafael' ydyw'r Cyfieithiad Diwygiedig yng nghorff y llyfr, a 'diamheuon' a 'diduedd' ar ymyl y ddalen. Y mae gair o'r un gyfathrach gan Iago ei hun (i. 6) yn golygu 'ameu,' ac un arall (ii. 4) yn golygu 'rhanedig,' fe allai; fel na wnaem ni, a chofio'r cysylltiadau hynny, ddim cam â'r gair wrth ei gyfieithu'n

diragrith. A ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch i'r 18
rhai sydd yn gwneuthur heddwch.

---

'ddiamheuon' neu yn 'ddirannau;' ac ystyr hynny yn y fan yma fyddai 'dianwadal,' 'cwbl ymroddedig.'

**A diragrith.** Dibenna'r adnod gyda dau air sy'n dangos nad yw'r ddoethineb sydd oddi uchod yn colli dim mewn nerth wrth fod yn dyner. Os ydyw hi'n heddychlawn, yn foneddigaidd, yn hawdd ei thrin, yn llawn trugaredd a ffrwythau da, y mae hi hefyd yn ddianwadal ac yn ddiragrith.

18. **A ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch i'r rhai sydd yn gwneuthur heddwch.** Neu, *gan y rhai sydd yn gwneuthur heddwch.* Sel dros gyfiawnder oedd esgus y dynion anfrawdol hyn dros eu geiriau cryfion a'u teimladau anghristnogol; 'ond,' ebai Iago, 'os mynnech chwi fedi ffrwyth cyfiawnder, rhaid i chwi hau mewn heddwch.' Cymh. Salm lxxxv. 10, 11; Es. xxxiii. 17; Heb. xii. 11.

## PENNOD IV.

1 O BA le *y mae* rhyfeloedd ac ymladdau yn eich plith chwi? onid oddi wrth hyn, *sef* eich melus-chwantau y rhai sydd
2 yn rhyfela yn eich aelodau? Chwennychu yr ydych, ac nid ydych yn cael; cenfigennu yr ydych ac eiddigeddu, ac nid ydych yn gallu cyrhaeddyd: ymladd a rhyfela yr ydych, ond

---

iv. 1-10.—*Ysbryd y byd.*

Nid geiriau bras a syniad anheilwng am wir ragoriaeth ydyw unig feiau yr uchelgais anianol yr ymesyd Iago mor ddiarbed arno. Y mae'r cyhuddiad trymaf eto'n ol. Y mae ysbryd yr uchelgais yma o'i le. Ysbryd y byd ydyw. Ysbryd y byd sy'n cyfrif am ddau beth yn hanes y rhai a fo dan ei ddylanwad: (1) Aflwydd eu dymuniadau (1-3); (2) pellder ysbryd oddiwrth Dduw (4-10).

1-3.—*Ysbryd y byd yn peri aflwydd ein dymuniadau.*

1. O ba le y mae rhyfeloedd ac ymladdau yn eich plith chwi? Y mae'r ddoethineb sydd oddi uchod yn heddychlawn; a ffrwyth cyfiawnder, mewn heddwch yr heuir hwnnw. 'O ba le, ynte, y mae rhyfeloedd ac ymladdau yn eich plith chwi?' Dyna'r cysylltiad, debyg, â'r adran o'r blaen.

Onid oddi wrth hyn, sef eich melus-chwantau y rhai sydd yn rhyfela yn eich haelodau? Y mae hi'n rhyfel oddi allan rhyngoch chwi a'ch gilydd, am nad ydyw hi ddim yn dangnefedd oddi mewn.

Saif yr aelodau yma, fel yn y bennod o'r blaen, am y nwydau a'r tueddion sy'n gwneud defnydd o'r aelodau. Cymh. 'Deddf pechod yn yr aelodau, yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl' (Rhuf. vii. 23).

2. Chwennychu yr ydych, ac nid ydych yn cael. Hunan gwyllt, gwamal, mympwyol, oedd hunan yr adnod o'r blaen, croes-dueddiadau yn rhyfela yn yr aelodau; ond hunan dygn, penderfynol, ydyw hunan yr adnod hon, eithr hunan siomedig, aflwyddiannus, er hynny. Y mae y dull o geisio dibenion yn wahanol; ond dibenion hunanol ydynt hwy eto; a thyna yr achos o'u haflwydd. Y mae hunanoldeb y dyn na wyr o mo'i feddwl, sydd yn neidio at y peth diweddaf a welodd, heb fedru disgyblu ei ddymuniadau, a'r hunanoldeb sy'n rhoi ei fryd am yspaid ar ryw un peth, ac yn ceisio hwnnw gyda phob egni a threfn ac ystryw—hunan Jacob a hunan Esau—yn ddau efaill wedi'r cwbl; a'r ddau fel eu gilydd yn aflwyddiannus. 'Nid ydych yn cael.'

Cenfigennu yr ydych ac eiddigeddu. Dilyna'r Cymraeg Feibl Saesneg Geneva. Y darlleniad sy'n y Beibl Saesneg cyffredin yw y goreu. '*Lladd yr ydych ac eiddigeddu.*'

Ac nid ydych yn gallu cyrhaeddyd. Prin y gallwn ni dybied fod yma gyhuddo darllenwyr y llythyr o lofruddiaeth lythyrennol, er y gallai fod rhai pethau yn yr epistol yn taflu at rai heb fod yn Gristnogion.

nid ydych yn cael, am nad ydych yn gofyn. Gofyn yr 3
ydych, ac nid ydych yn derbyn, o herwydd eich bod yn gofyn
ar gam, fel y galloch eu treulio ar eich melus-chwantau.

---

Beth am v. 6? Ond yno cyfoethogion fel dosbarth a gyferchir; yma Cristnogion yn bendifaddeu, a Christnogion blaenllaw, yn arfer siarad ar goedd mewn cyfarfodydd crefyddol, rhai yn honni doethineb. Onide pa ergyd fyddai yn y paragraff o flaen hwn? Gwell, y mae'n debyg, cymeryd 'Lladd' yn yr ystyr a ddyry'r bregeth ar y mynydd (Mat. v. 21-22) i'r chweched gorchymyn. Yr oedd y bobl hyn mewn effaith, ac o ran eu hysbryd, yn lladd trwy eu rhaib am olud, a'u hawydd afiach am flaenori. Dibrisient hawliau a theimladau pobl eraill. Pa ladd mwy effeithiol na'r enllib sydd, o genfigen, yn camliwio gweithredoedd a dibenion un arall, er mwyn ei gadw yn ol o bob dyrchafiad a braint? A pha faint o deuluoedd a chwalwyd, pa faint o galonnau a dorrwyd hefyd, o herwydd fod gwinllan rhyw Naboth o hyd ar ffordd mympwyon y gŵr mawr? Darluniad yw y geiriau hyn, gan hynny, o'r ymgiprys diddiwedd sydd am olud ac anrhydedd yn y byd, am fri a blaenoriaeth yn yr eglwys, y gystadleuaeth finiog y mae y rhai a ymroant iddi yn anghofio ac yn aberthu pob peth er mwyn dyfod i'r brig rywfodd, trwy atal cyflog y gweithiwr, neu lwyrfwyta tai gwragedd gweddwon, os rhaid.

Ymladd a rhyfela yr ydych, ond nid ydych yn cael, am nad ydych yn gofyn. Dyma'r gwir achos o aflwydd eich bywyd ym mhob cylch. Yn ysbryd y byd yr ydych yn ceisio pob peth, nid mewn ysbryd gweddi. Mynnu pethau oddiar ddynion, dyna'ch cynllun chwi, yn lle'u gofyn hwy gan Dduw.

3. Gofyn yr ydych, ac nid ydych yn derbyn, o herwydd eich bod yn gofyn ar gam, fel y galloch eu treulio ar eich melus-chwantau. Dywedir ar ddwywaith yr achos o aflwydd ein gweddïau ni: gofyn ar gam, a gofyn pethau i'w treulio ar eu melus-chwantau. Os oes rhagor hefyd rhwng y ddau, hwyrach y gallem gael hyd iddo trwy chwilio yn yr ail adnod am ystyr y cyntaf, ac yn y gyntaf am ystyr yr ail. Dyna'r drefn gyffredin braidd mewn hen lyfrau, dechreu yn y pen nesaf atoch, wrth fyned dros y materion yr ail dro. 'Fel y llefarodd ac y gwelodd y dall a mud' (Mat. xii. 22). Felly yma, yr ydys yn dechreu gyd â'r ail o'r ddau beth a grybwyllasid yn y ddwy adnod o'r blaen.

Gallasai rhywun ofyn, wrth glywed darllen y fath eiriau cryfion, 'Onid yw Iago gyfiawn wedi anghofio'i hun am unwaith? A ydyw efe'n cofio, tybed, mai at ddisgyblion Iesu Grist y mae'n ysgrifennu, a rhai wedi hen arfer gweddïo'n gyson cyn adnabod Crist?' Gwir eu bod yn gweddïo; a gallent hwy dybied fod eu gweddïau yn eithriad i hunanoldeb eu bywyd; ond erbyn craffu, eithriad yn profi'r rheol ydyw hwn hefyd. A dyna'r eithriad sy'n profi'r rheol, yr eithriad sy'n gosod y rheol ar ei phrawf, ac eithriad sy'n dangos, o'i chwilio, mai nid eithriad ydoedd mewn gwirionedd, ond esiampl deg o'r rheol. Nid yw gweddïau'r bobl hyn yn eithriad gwirioneddol i'w bywyd hwy. Hunan sy'n llychwino'u holl fuchedd; a hunan sy'n difwyno'u gweddïau hwy hefyd, ac y mae hunan ar ei liniau mor wrthodedig, ac mor sicr o gael ei siomi, ag ydyw hunan ar ei

4 Chwi odinebwyr a godineb-wragedd, oni wyddoch chwi fod cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw? pwy bynnag gan

draed. 'Y mae eich gweddïau,' meddai Iago, 'yn dioddef oddi wrth yr un clefyd a'ch bywyd chwi. Ymladd a rhyfela yr ydych, ond nid ydych yn cael, am nad ydych yn gofyn. Gofyn yr ydych, ac nid ydych yn derbyn, o herwydd eich bod yn gofyn ar gam.' Gofyn mewn ysbryd ymladd a rhyfela, gofyn a blas mynnu arno ydyw gofyn ar gam. 'Pe edrychaswn ar anwiredd yn fy nghalon, ni wrandawsai yr Arglwydd' (Salm lxvi. 18). Nid rhaid i'r gweddïwr fod yn berffaith, nac hyd yn oed yn dduwiol, er mwyn i'r weddi lwyddo gyd â Duw; ond rhaid iddo fod yn ddidwyll, yn bur ei gymhellion. Os bydd anwiredd yn llechu yn nghymhellion y weddi, pa fodd y gall honno fod yn dderbyniol gyd â Duw? Ond pa fodd y cawn ni wybod pa bryd y bydd ein hysbryd yn ei le? Yr ateb i hynny ydyw diwedd yr adnod, 'Fel y galloch eu treulio ar eich melus-chwantau.' Amcan dyn sydd yn profi ei ysbryd. Os mynnem ni wybod a fyddwn ni'n gofyn mewn ysbryd teilwng, gofynwn i ni'n hunain pa beth a wnaem â'r fendith pe delai hi i'n rhan. Yr hwn sydd yn gofyn ar gam, sydd hefyd yn gofyn fel y gallo dreulio ffrwyth ei weddi ar ei felus-chwantau, y melus-chwantau sydd, yn ol adn. 1, yn rhyfela yn yr aelodau. Nid ydynt yn golygu melus-chwantau pechadurus o angenrheidrwydd, ond pleserau a allant fod yn eithaf cyfreithlawn ynddynt eu hunain, ond sydd yn gwbl anghyfreithlawn fel pethau i'w ceisio er eu mwyn eu hunain. Ail ddiben ydyw pleser i fod, diben yng nghysgod y prif ddiben, amcan yn y fargen, a benthyca iaith yr athronwyr. Nid yw y difyrrwch mwyaf dyrchafedig a phur i'w wneuthur yn amcan er ei fwyn ei hunan. Ac os nad yw yn deilwng amcan bywyd, nis gall fod yn deilwng amcan gweddi. Y mae yr Arglwydd wedi cysylltu hyfrydwch â phob gwaith cyfaddas i'n natur ni; a pho ucha'r gwaith, uchaf i gyd fydd yr hyfrydwch. Ni chaiff na'r pregethwr na'r athraw, na'r arweinydd gwladol, lafurio dros ei gymydogion na bydd iddo lawer o hyfrydwch, yn gystal a llawer o aberth, yn ei yrfa. Y mae'n iawn hefyd iddo, o fewn ryw derfynau, ddisgwyl am hynny, er mwyn ei symbylu a'i fywiogi ef yn ei lafur. 'Na chau safn yr ych sydd yn dyrnu.' Eto os bydd peth a fwriadwyd yn help wedi myned yn amcan, y mae yn colli ei le. Nid yw ysbryd y byd ronyn mwy llwyddiannus pan y gwisgo efe wedd grefyddol, ac yr ymgymysgo â defodau gweddi.

4-10.—*Ysbryd y byd yn peri pellder ysbryd oddi wrth Dduw.*

Gair yn yr wythfed adnod, fe allai, fyddai'r agoriad goreu i'r adran yma. 'Nesewch at Dduw, ac efe a nesa atoch chwi.' Os gofyn rhywun,

> 'Beth yw'r achos fod ein Harglwydd
> Hawddgar, grasol, yn pellau?'

Ein pellder ni oddiwrtho ef yw yr ateb; ac nid yw hynny ond canlyniad naturiol ysbryd y byd. Hwn sydd yn rhwygo cymdeithas trwy genfigen chwerw ac ymryson; hwn sydd yn diffrwytho gweddi; a hwn hefyd sydd yn falldod ar y bywyd ysbrydol oddi mewn.

**4. Chwi odinebwyr a godineb-wragedd.** Nid oes dim dwywaith nad gair ydyw y cyntaf o'r ddau a rowd i mewn er mwyn gwneud yr ymadrodd yn haws ei esbonio. Y mae'r beirniaid goreu, i gyd, yn ei

hynny a ewyllysio fod yn gyfaill i'r byd, y mae yn elyn i
5 Dduw. A ydych chwi yn tybied fod yr ysgrythyr yn dy-

---

wrthod, ac yn darllen fel hyn—'*Chwi odineb-wragedd,*' . . . a dyma'n wir sydd yn rhoi'r ystyr fwyaf perthynasol â'r pwnc dan sylw. Canys nid oes yma son am odineb llythyrennol, namyn am eiddigedd ac uchelgais haerllug, balchder a hunanoldeb; ac yr oedd y disgyblion proffesedig hyn yn odineb-wragedd yn ystyr y prophwydi i'r cyhuddiad, trwy eu bod, o ran ysbryd a theimlad, wedi gadael Duw. Y mae Testament yr America'n rhoi 'chwi odineb-wragedd' yng nghorff y llyfr, ac ar ymyl y ddalen yn chwanegu, 'wedi torri adduned eich priodas â Duw.' Cymh. Hosea i. a ii. ac Ezec. xv. 1.

**Oni wyddoch chwi fod cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw?** Yr un yw y byd yn y fan yma a byd yr Apostol Ioan, ac a'r byd yn nysgeidiaeth y Gwaredwr (Ioan xv. 18-19; xvi. 33; 1 Ioan ii. 15-17), y gyfundrefn o egwyddorion ac arferion didduw sydd yn y byd. Wrth gyfeillach y byd yr ydym i ddeall, nid annuwioldeb amlwg yn unig, oblegid yr oedd y rhai a gyferchid yma'n proffesu peth amgenach, ond y duedd i foddloni ar ddull ac egwyddorion y byd, heb godi at ddim uwch safon na barn y byd. Os ydyw y byd yn byw i ddibenion hunanol, yn lladd ac yn eiddigeddu, yn ymladd ac yn rhyfela, dyna wnawn ninnau. Ni fynsai y bobl yma er dim gydnabod mai dyma iaith eu calon, ond dyma oedd hi er hynny. Y mae y sawl a'i dodo'i hunan yn uchaf, o flaen lles dynion a gogoniant Duw, yn gyfaill i'r byd, faint bynnag yw ei ddyddordeb ym mhethau crefydd. Y mae cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw, o herwydd natur y cariad y mae Duw yn ei hawlio. Fe foddlonai'r byd, bid siwr, ar ffyddlondeb hannerog; ond nis boddlona Duw. Rhaid i'w ddyweddi fod yn eiddo iddo ef yn unig; nid yw efe yn foddlon i rannu ffyddlondeb ei bobl â neb na dim. Duw eiddigus ydyw. Y mae pob anffyddlondeb yn dorpriodas yn ei erbyn ef.

**Pwy bynnag gan hynny a ewyllysio fod yn gyfaill i'r byd, y mae yn elyn i Dduw.** *Yn troi yn elyn* . . . neu *Yn ei wneuthur ei hun yn elyn* i Dduw.

5. **A ydych chwi yn tybied fod yr ysgrythyr yn dywedyd yn ofer?** Dyma un o'r adnodau anhawddaf ei hegluro yn y llyfr, os nad yr anhawdda'i gyd; a lle y mae lluaws o esboniadau'n eu cynnyg eu hunain, heb fod yr un o honynt yn drwyadl foddhaol, beth a allwn ni wneud ond dewis yr un a ymddengys i ni debycaf o fod yn iawn? Ni welais yr un eglurhad ar yr adnod nas gellir dwyn pethau go bwysig yn ei erbyn, ond fod llai i'w ddweud yn erbyn rhai o honynt na'u gilydd. Yr ymholiad cyntaf yw, Pa ysgrythyr sy'n dywedyd? Ysgrythyr o lyfr sydd ar goll, medd rhai; tra y myn eraill—y nifer liosocaf hwyrach—mai rhoddi y mae Iago ystyr a baich amryw ysgrythyrau, heb feddwl dyfynu yr un. Os felly, y mae yr hyn sydd gyfystyr â dyfyniad i'w gael yn y rhan olaf o'r adnod; a rhaid cyfieithu'r rhan honno yn ol hynny. 'Y mae'r ysbryd a roddes efe i drigo ynom ni, yn ein chwennychu hyd at eiddigedd, neu gyd ag eiddigedd.' Neu eto, 'Y mae yn eiddigeddu o hiraeth am yr ysbryd a blannodd efe ynom ni.' Yr ysgrythyrau y tybir fod y gair hwn yn aralleiriad neu grynhodeb o un neu ragor o

wedyd yn ofer, At genfigen y mae chwant yr yspryd a gar-

honynt, rhannau ydynt o'r Hen Destament, sy'n priodoli eiddigedd i'r Brenin mawr. Dyma rai o honynt; Ex. xx. 5; Deut. xxxii. 11, 12, 16, 19, 21; Es. lxiii. 9-10. Y peth cryfaf dros y golygiad hwn ydyw, ei fod yn gydwedd âg ystyr gyffredin y gair 'chwant' neu 'chwennych' yn y Testament Newydd ac yn y LXX a'r Apocrypha, er fod eithriad i hynny, a'r eithriad mewn llyfr y gwyddom fod Iago yn dra hoff o hono (Ecclus. xxv. 21), lle y cysylltir y gair a thrythyllwch; ond yn y cyffredin rhaid addef mai ystyr dda sydd iddo. Peth arall yn taro'r un ffordd ydyw, fod y golygiad yn dodi rhyw fath ar ddyfyniad yn union ar ol cymal cyntaf yr adnod, 'A ydych chwi yn tybied fod yr ysgrythyr yn dywedyd yn ofer?' Dilyn rhag blaen y bydd y dyfyniad, gan amlaf, gyda â'r dull yma o ymadroddi. Ond, o'r tu arall, mae'r esboniad yna'n gofyn cryn graffder yn y darllennydd i ddeall at ba ysgrythyr neu ysgrythyrau y cyfeiriai yr awdwr. Dywed Huther am yr esbonwyr Ellmynnig sy'n dewis yr eglurhad yna, nad oes dim dau o honynt yn nodi yr un ysgrythyr a'u gilydd fel sail y dyfyniad. Hefyd, os yw 'chwennych' yn cael ei ystyr gyffredin, ar gyfer hynny, arferir y gair a gyfieithir 'at genfigen' mewn ystyr eithriadol iawn, os ydys i roi ystyr dda i'r gair yn y fan yma.

Llawn gwell gennyf fi, ar y cyfan, eglurhad arall, er mai go ychydig o esbonwyr sydd yn ei dderbyn. Y mae Huther, pa fodd bynnag, o'i blaid ef mewn rhan, a'r Cyfieithiad Diwygiedig o blaid rhan arall o hono. Dyna ydyw hwnnw, mai yr ysgrythyr a ddyfynnir yn yr adnod nesaf yw yr un y cyfeirir ati yn hon: 'Y mae Duw yn gwrthwynebu . . .' (Diar. iii. 34). Felly byddai adn. 5, a'r cymal blaenaf o adn. 6, mewn ystyr, rhwng cromfachau, er nad oes eisiau rhoi cromfachau chwaith, gan fod y frawddeg yn ail ddechreu'n naturiol ddigon, ar ol troi o'r ffordd. Y ffordd rwyddaf, gyd â'r dull hwn o egluro, yw deall yr ail gymal o adn. 5 yn gwestiwn. Y mae un peth cryf dros hynny. Y mae trefn y geiriau yn y Groeg yr un fel yn union a'r cymal cyntaf, am yr hwn y cytunir yn gyffredinol mai cwestiwn ydyw; a phwyslais y frawddeg ar y geiriau 'at genfigen.' Yn awr nid oes dim posibl rhoi pwyslais felly ond wrth un o ddau eglurhad. Un ydyw'r un a dybir yn y Cyfieithiad Cymraeg a Saesneg cyffredin. Y mae hwnnw i'w wrthod, gan ddarfod ei seilio ar ddarlleniad anghywir. 'Yr ysbryd a roes efe i gartrefu ynom ni,' yn ddiameu braidd ydyw'r darlleniad priodol. Yr unig ffordd arall, gan hynny, i gael pwyslais y gwreiddiol ar y geiriau cyntaf yn y frawddeg ydyw ei chyfieithu hi'n gwestiwn, a darllen y ddwy fel hyn—'Neu a ydych chwi'n tybied mai ofer y dywed yr ysgrythyr? Ai at genfigen y mae chwant yr ysbryd a osododd efe ynom ni? Eithr rhoddi gras mwy y mae. O herwydd paham y mae'n dywedyd, Y mae Duw yn gwrthwynebu'r beilchion, ac yn rhoddi gras i'r rhai gostyngedig.' Os mynnir gwneud y peth yn eglurach fyth, rhodder cromfach o flaen 'Ai at genfigen,' ac ar ol 'rhoddi gras mwy y mae.' Gwrthodir yr eglurhad hwn gan amryw oblegid ei fod yn gwneuthur bwlch rhwng y cyfeiriad at yr ysgrythyr a'r dyfyniad. Ond y mae y frawddeg, 'o herwydd paham y mae yn dywedyd,' yn ailafael ym mhen y llinyn. Fe'i gollyngasid am darawiad llygad, o herwydd brys yr awdwr i ddangos ei ddiben yn dyfynnu'r ysgrythyr yma. Y mae bwlch ac ailddechreu brawddeg yn beth lled gyffredin. Yn yr

trefa ynom ni? Eithr rhoddi gras mwy y mae: o herwydd 6
paham y mae yn dywedyd, Y mae Duw yn gwrthwynebu y

---

Epistol at yr Ephesiaid, er engraifft (pen. iii.), ni gawn Paul yn cychwyn brawddeg yn adn. 1: 'Er mwyn hyn, myfi Paul carcharor Iesu Grist trosoch chwi y cenhedloedd,' ac yn ei hail gymeryd hi i fyny yn adn. 13: 'O herwydd paham yr wyf yn dymuno na lwfrhaoch oblegid fy mlinderau i drosoch, yr hyn yw eich gogoniant chwi.' Gwir nad yw Iago cyn brysured ysgrifennwr a Phaul. Y mae ei frawddegau, at eu gilydd, yn fwy gorphenol; eto y mae ei ysbryd yntau'n dambaid; ac i ysbryd felly beth sydd fwy naturiol na thorri ar gynllun cynta'r frawddeg, a dweud diben y dyfyniad cyn rhoi'r dyfyniad ei hun?

Ai at genfigen y mae chwant yr ysbryd a blannodd efe ynom ni? Gair ydyw 'plannu' neu 'osod' neu 'roddi i drigo' a arferid am blannu gwladychfa. Pa ysbryd a feddylir? Nid ysbryd y byd, fel y buasai'r darlleniad cyffredin yn ein gorfodi i ddeall y gair. Ond pa wedd ar yr hyn sy'n wrthwyneb i'r ysbryd hwnnw? Pa un ai'r Ysbryd Glân, ynte'r anian yn y credadyn sydd yn ffrwyth gwaith yr Ysbryd? Y cyntaf fe allai, er nad yw o nemawr bwys penderfynu rhwng y ddau, gan y daw y ddau yn ymarferol bron i'r un peth.

Ai at genfigen. Cenfigen yw y ffurf ar ysbryd y byd sydd gan Iago fwyaf o flaen ei feddwl trwy y gyfran hon i gyd. Y mae ceisio'n dibenion yn ffordd hunangar y byd, ar draws lles dynion, ac heb ymofyn âg ewyllys yr Arglwydd, yn ymadawiad oddi wrtho ef, yn odineb yn ei erbyn, pa mor aml bynnag y bo'i enw ef ar ein gwefusau. Rhannu lle'r Goruchaf a'r byd ydyw, gofyn help oddi uchod, a dilyn ein cyngor ein hunain, bob yn ail. Llwyr ymroddiad i Dduw, heb rannu na darnguddio, yw un o feddyliau mawr yr epistol (i. 8), ac yn bendifaddeu prif feddwl yr adran hon.

6. Eithr rhoddi gras mwy y mae. Sef *y mae Duw*. *Gras mwy, lle mae gras eisoes*. 'Pwy bynnag y mae ganddo y rhoddir iddo' (Mat. xiii. 12; xxv. 29). Edrych ymlaen y mae'r gair yma at y cymal diweddaf o'r dyfyniad sy'n dilyn, a hynny mewn gwrthgyferbyniad i'r hyn sydd yn adn. 5. Sylw craff sydd gan Bengel ar gysylltiad y ddwy adnod. 'Gras mwy, po bellaf y ciliech di oddi wrth genfigen.'

O herwydd paham y mae yn dywedyd. Sef Duw, neu air Duw, yr ysgrythyr. Cymh. Eph. v. 14.

Y mae Duw yn gwrthwynebu y beilchion. . . . 'Diau efe a watwar y gwatwarus; ond ei ras a rydd efe i'r gostyngedig' ydyw'r geiriau yn ol y Beibl Hebraeg. Y mae'r dyfyniad, yma ac yn 1 Pedr v. 4, yr un fath yn union a'r LXX. ond un gair. Rhoddir 'Arglwydd' yno'n lle 'Duw.' Ond y mae Iago a Phedr yr un fath a'u gilydd yn y gwahaniaeth sydd rhyngddynt a'r LXX., pa un ai am fod Pedr yn dilyn Iago, neu am fod y ddau yn dilyn copi o'r Hen Destament nad yw'n adnabyddus i ni, sydd gwestiwn. Cawn enghreifftiau yn y Testament Newydd o ddyfyniadau na chyfatebant yn fanwl i unrhyw gyfysgrif sydd ar gael yn awr. Yn Deut. vi. 5 rhydd yr Hebraeg, 'A'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl nerth,' a'r LXX. 'A'th holl feddwl, ac â'th holl enaid, ac â'th holl nerth;' ac fel hyn y dyfynnir yn Mat. xxii. 37, 'A'th holl galon, ac â'th

7 beilchion, ond yn rhoddi gras i'r *rhai* gostyngedig. Ym-
ddarostyngwch gan hynny i Dduw. Gwrthwynebwch ddiafol,
8 ac efe a ffy oddi wrthych. Nesêwch at Dduw, ac efe a nesâ
attoch chwi. Glanhêwch *eich* dwylaw, chwi bechaduriaid;
a phurwch *eich* calonnau, chwi â'r meddwl dau-ddyblyg.
9 Ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch: tröer eich chwerthin

---

holl enaid, ac â'th holl feddwl.' Ond hawdd deall pa fodd y byddai llawer ffurf ar beth y byddai llawer o adrodd arno. Dyna'r ffurf gyffredin ar Weddi'r Arglwydd yng Nghymru, cymysgfa ydyw o ffurf y Beibl Cymraeg a ffurf y Llyfr Gweddi Gyffredin.

**Y mae Duw yn gwrthwynebu y beilchion.** Yn ol deddf ein perthynas ni âg ef, fel yr eglurir hi yn yr adnodau o'r blaen. Ond y mae yr ochr arall hefyd yn wir. 'Y mae Duw yn gwrthwynebu y beilchion, ond yn rhoddi gras i'r rhai gostyngedig.'

7. **Ymddarostyngwch gan hynny i Dduw.** 'Gan mai dyna un o amodau gras.'

**Gwrthwynebwch ddiafol, ac efe a ffy oddiwrthych.** Dylasid, fel y gwel pawb, ar bob cyfrif rannu'r adnodau'n wahanol, rhoddi'r frawddeg yma a'r rhan gyntaf o'r adnod nesaf yn un adnod gyd â'u gilydd; oblegid y mae y ddwy yng nghyd yn gosod i lawr ddeddf cymdeithas y credadyn â Duw yn ei gwedd gyflawnaf, a hynny o'r ddwy ochr. Y mae'r Arglwydd yn rhoddi gras mwy i'r neb y mae gras ganddo, yn un peth, gan fod pob buddugoliaeth ar ddiafol yn ei wneud ef yn haws ei orchfygu wedyn. 'Wedi i ddiafol orphen yr holl demtasiwn, efe a ymadawodd âg ef dros amser' (Luc iv. 13). Ac ar y llaw arall, y mae pob ymgais deg i feithrin cyfeillach â Duw, pa un bynnag ai trwy foddion gras ai mewn bywyd cyffredin, yn siwr o dderbyn ei wobr.

8. **Nesewch at Dduw, ac efe a nesa atoch chwi.** Darllener yn fanwl Salm lxxiii.

**Glanhewch eich dwylaw, chwi bechaduriaid; a phurwch eich calonnau, chwi a'r meddwl dau-ddyblyg.** Gwel ar i. 8. Cyfarwyddyd yw y geiriau hyn, a'r rhai sy'n dilyn, pa fodd i nesau at Dduw, neu, os mynnwch chwi, eglurhad ar yr hyn y mae nesau at Dduw yn ei gynnwys. Cymh. Salm xv.; xxiv. 3-5; Es. i.; lviii. 3-10. Cyn y gallwn ni gael gwedd wyneb yr Arglwydd rhaid i'n hagosâd ni ato fod yn agosâd calon, ac yn agosâd bywyd. Rhaid iddo gynnwys gwir feddylfryd y dyn, a chynnwys hefyd ei rodiad beunyddiol yn gystal a'i addunedau. Y mae nesau at Dduw yn waith oes, ac yn waith y dyn i gyd. Rhy hannerog a rhy oriog ydyw crefydd llawer o honom i ddwyn ffrwyth.

9. **Ymofidiwch.** Cawn ansoddair o'r un gwreiddyn yn Rhuf. vii. 24. 'Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared i oddi wrth gorff y farwolaeth hon?'

**A galerwch ac wylwch.** 'Gwae chwi y rhai llawn; canys chwi a ddygwch newyn. Gwae y rhai a chwerddwch yr awrhon; canys chwi a alerwch ac a wylwch.' Gwel hefyd Joel ii. 12-13.

**Troer eich chwerthin chwi yn alar, a'ch llawenydd yn**

chwi yn alar, a'*ch* llawenydd yn dristwch. Ymddarostyng- 10
wch ger bron yr Arglwydd, ac efe a'ch dyrchafa chwi. Na 11
ddywedwch yn erbyn eich gilydd, frodyr. Y neb sydd yn

---

dristwch. Cymh. Amos viii. 10. Er nad yn y tristwch ei hun y mae'r fendith, ond yn nodwedd ac ystyr y tristwch. Duwiol dristwch a feddylir, fel y dengys yr adnod nesaf. Cymh. hefyd 2 Cor. vii. 9-10.

10. Ymddarostyngwch ger bron yr Arglwydd; ac efe a'ch dyrchafa chwi. Gwneir defnydd o'r adnod hon yn 1 Pedr v. 6, lle y mae gostyngeiddrwydd, yr un fath ag yma, yn cynnwys gostyngeiddrwydd tuag at ddynion, yn gystal a thuag at Dduw.

iv. 11, 12.—Diweddglo y Rhannau ar Frawdgarwch.

Yr wyf wedi petruso llawer pa fodd i olygu y ddwy adnod hyn o ran eu cysylltiadau. Y mae eu cysylltiad â'r adran ddiweddaf oll yn eglur ddigon. Danghosir yno fod cenfigen a diffyg brawdgarwch tuag at ddynion yn ymadawiad oddiwrth Dduw; ac ystyr ein hymddygiad ni at ddynion, yn ei berthynas â Duw, ydyw baich adn. 11 a 12. Ond y mae y newid arddull sydd yn y ddwy adnod yma, o'u cyferbynnu a dull cyffrous yr adnodau o'r blaen, yn awgrymu, bid a fynno, fod meddwl yr awdwr yn arafu am funyd i glymu ei gynghorion ynghyd; a chadarnheir yr awgrym yna pan ddarllennom ymlaen, a gweled yr arddull yn newid yn ddisymwth wedyn, yn trawsgyweirio eilchwyl i'r cyffrous yn adn. 13. Amlwg yw, gan hynny, y saif y ddwy adnod dan sylw ar eu pennau'i hunain; a chan eu bod yr un mor amlwg yn perthyn yn nes i'r hyn sydd o'u blaen nag i'r hyn sydd ar eu hol, yr unig gwestiwn bellach ynte yw, pa un oreu eu cysylltu yn bennodol â'r gyfran ar 'Feistriaid lawer' (iii. 1-iv. 10), neu eu cysylltu â'r darn ar frawdgarwch i gyd (i. 19-iv. 10). Y diweddaf hwyrach yw y mwyaf boddhaol ar y cyfan. Ni a gawn felly beth sydd yn gyffredin, mewn awdwr trefnus, yn arwyddo darn o addysg y gellir ei ystyried yn rhyw fath o gyfanwaith ar wahan i rannau eraill y llyfr, dychweliad at y testyn fel y gosodir ef i lawr yn i. 19-27. Cyweirnod y gyfran honno ydyw cyweirnod y gyfran hon hefyd. Ac er mwyn gweled mor drwyadl y deil Iago ei afael ar ei bwnc, y mae'n werth ymdroi ennyd i gymharu yr agoriad i'r darn hwn â'r diweddglo. Gellir darllen i. 19-27 a iv. 11, 12, y naill ar ol y llall, heb deimlo ein bod yn newid y testyn o gwbl. Yn i. 19-27 dechreuir trwy ddangos mor groes i ysbryd yr efengyl ydyw'r awydd i ddeddfu a beirniadu yn lle ufuddhau. Drwg y rhai sydd esgud i lefaru, a pharod i ddigofaint, ydyw, fod hynny o ymlyniad sydd ganddynt wrth grefydd yn dyfod i'r golwg yn fwy mewn gosod crefydd yn ddeddf ar eraill nag mewn cymeryd crefydd yn ddeddf iddynt eu hunain. Yn awr dyna'n union sydd yn y diweddglo hwn hefyd: ysbryd beirniadu yn lladd ysbryd ufuddhau.

11. Na ddywedwch yn erbyn eich gilydd, frodyr. Ni olyga'r geiriau hyn, mwy na llawer o ymadroddion cyffelyb yn yr Ysgrythyr Lân, y dylem ni gytuno â phawb. 'Os pechaduriaid a'th ddenant, na chytuna' (Diar. i. 10). 'Gwae chwi pan ddywedo pob dyn yn dda am danoch' (Luc vi. 26). Rhaid cyhoeddi dyledswydd yn aml heb nodi ei chyferbyn, nac egluro ei therfynau. Heb law hynny y mae'r gair

dywedyd yn erbyn *ei* frawd, ac yn barnu *ei* frawd, y mae efe
yn dywedyd yn erbyn y gyfraith, ac yn barnu y gyfraith:
ac od wyt ti yn barnu y gyfraith, nid wyt ti wneuthurwr

---

'dywedyd yn erbyn' i'w ddeall yn gydwedd â rhediad yr adrannau o'r blaen, 'dywedyd yn erbyn,' mewn ysbryd balch, hunan-gyfiawn, cenfigenllyd. Gwel ar i. 20. 'Goganau' y cyfieithir gair yn perthyn i hwn yn 2 Cor. xii. 20; a chyfieithir un arall yn 'athrodwyr' yn Rhuf. i. 30.

**Y neb sydd yn dywedyd yn erbyn ei frawd, ac yn barnu ei frawd.** Myn yr ysgrifenwr ar Iago yn Esboniad Ellicott ddarllen heb yr 'ac.' Rhydd y Testament Saesneg Diwygiedig 'neu' i mewn yn ei le. Eglurhad, debyg, ydyw 'barnu ei frawd' ar 'ddywedyd yn erbyn ei frawd,' ond eglurhad sy'n cryfhau yr ystyr.

**Sydd yn dywedyd yn erbyn y gyfraith, ac yn barnu y gyfraith.** Pa fodd tybed? Dichon mai trwy fyned a swydd y gyfraith, a thaflu felly nad yw y gyfraith yn gwneud ei gwaith, ac nas gall hi ei wneuthur heb ei gymhorth ef; digofaint gŵr yn ceisio cyflawni cyfiawnder Duw. Os yw y brawd a oddiweddwyd ar ryw fai heb ei oddiweddyd gan gerydd neu gosb, y mae y gŵr sy'n ei farnu yn prysuro gweithrediad deddf Duw yn erbyn y troseddwr trwy gynnyg help ei gyngor ei hun a'i natur ddrwg ei hun i ddwyn hynny i ben; ac os oes, o'r tu arall, arwyddion fod y troseddwr eisoes dan gerydd Duw—yn cael ei ollwng i galedwch, neu mewn rhyw wedd yn gorfod dioddef o herwydd ei fai—yna y mae y sawl sy'n ei ddifenwi, ac yn ymhyfrydu yn ei ddarostyngiad, cystal ag awgrymu nad yw'r cerydd yn ddigon; fel y mae y neb sydd yn dywedyd yn erbyn ei frawd—yn barnu ei frawd, yn yr ystyr yma i hynny—yn euog o roi rhyw ddiffyg yn erbyn y gyfraith, sef deddf Duw, y ddeddf foesol, os mynnir, er mai prin yr oedd ein dosbarthiad ni ar ddeddfau yn bod i feddyliau yr ysgrifenwyr sanctaidd, nac i neb arall y pryd hynny. Ffurf gyffredin iawn, ysywaeth, ar yr ysbryd a gondemnir yma ydyw'r parodrwydd sydd ynom i gyfrif digwyddiad gofidus yn farn ar ddyn, pan na bydd y cysylltiad rhwng y gosp a'r trosedd yn eglur mewn un modd 'Rabbi, pwy a bechodd, ai hwn, ai ei rieni, fel y genid ef yn ddall?' (Ioan ix. 2). Rhyw ymholiad tebyg, yn ddiau, a flinai'r bobl a fynegent i'r Iesu am y Galileaid y rhai y cymysgasai Pilat eu gwaed yng nghyd â'u haberthau (Luc xiii. 1-5).

**Ac od wyt ti yn barnu y gyfraith, nid wyt ti wneuthurwr y gyfraith, eithr barnwr.** Cymharer yn ofalus Mat. vii. 1-5. Unwaith y gosodo dyn ei hun yn awdurdod i benderfynnu pa fodd y dylai y ddeddf weithredu, dyna ben ar ufudd-dod syml, diymofyn, yn ei hanes ef. Os bydd ufuddhau wedyn, ufuddhau fydd hwnnw ar ol holi llawer, a throi a throsi llawer, a chwilio am esgusion yn llythyren y gyfraith dros fyned heibio i'w hysbryd hi. Dynion wedi arfer trin y gyfraith fel clorian i bwyso eraill, nes eu cyfrif eu hunain, a chael eu cyfrif hefyd, yn awdurdodau ar y gyfraith, dyma'r rhai a ddaw mewn amser i olygu fod ganddynt hwy ryw hawl ar y gyfraith yn anad neb o'u cymydogion. Nid ymddengys yn debyg iawn iddynt hwy fod y gyfraith sydd yn gosod rhai cynefin â'i manylion hi ar uwch tir na'r cyffredin byth braidd yn eu bwrw hwy yn euog o'i throseddu hi. Os bydd anghysondeb rhwng eu buchedd hwy â hi,

y gyfraith, eithr barnwr. Un gosodwr cyfraith sydd, yr 12
hwn a ddichon gadw a cholli. Pwy wyt ti yr hwn wyt yn

---

mewn ymddanghosiad yn unig y bydd y rhan amlaf o lawer. Naw tro o bob deg, y mae dyn yn ddigon o Bab, chwedl y Cardinal Newman, i 'roi cennad iddo'i hun i bechu.' 'Efe yn ewyllysio ei gyfiawnhau ei hun, a ddywedodd wrth yr Iesu, A phwy yw fy nghymydog?' (Luc x. 29). Pobl o'r fath yma, wedi arfer holi, yn lle ufuddhau ar eu hunion, a ddywedent fod tyngu i aur y deml yn bechod, ond nad oedd tyngu i'r deml ei hunan ddim; fod tyngu i'r rhodd ar yr allor yn ddrwg, ond nad oedd tyngu i'r allor ddim (Mat. xxiii. 16-22). Nod cydwybod iach ydyw ei bod hi, pan fo dyledswydd yn amlwg, yn gweithredu'n ddibetrus a diymdroi; ac mewn amgylchiad pryd y mae dyledswydd yn amwys, nid oes gennym hawl i ddewis y tu esmwythaf gennym ni i'r amhwysedd hwnnw. Dyna reol yr Apostol Paul ar byncIau y gall dynion da, gonest, wahaniaethu yn eu cylch. 'Gwyn ei fyd yr hwn nid yw yn ei farnu ei hun yn yr hyn y mae yn ei dybied yn dda. Eithr yr hwn sydd yn petruso, os bwyty, efe a gondemniwyd, am nad yw yn bwyta o ffydd, a pheth bynnag nid yw o ffydd, pechod yw' (Rhuf. xiv. 22-23). Ystyr y gair 'ffydd' yn y fan yna, debyg, ydyw ymddiried llwyr fod y peth yn ei le. Y mae cydwybod iach yn gweithio'n ddigwmpas, fel greddf. Lladd y gweithrediad hyderus, greddfol, hwn y mae'r duedd i farnu'n gilydd, ac mewn effaith i farnu'r gyfraith, trwy nodi'r llwybr y dylai'r gyfraith ei gymeryd tuag at y troseddwr. Amlwg yw, oddiwrth yr adnod nesaf, mai barnu y gyfraith yn ei gweithrediadau cosbawl a feddylir yn yr adnod hon; oblegid at y wedd yna ar awdurdod y Deddfwr mawr y cyfeirir yn bennodol.

12. Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon gadw a cholli. Y mae Testament Westcott a Hort a'r Cyfieithiad Diwygiedig o blaid darlleniad arall, sy'n rhoddi 'A barnwr' i mewn ar ol 'gosodwr cyfraith;' a'r cyfieithiad goreu, yn ol y darlleniad hwnnw fyddai '*Un sydd ddeddfroddwr a barnwr*. . . . Un felly, a dim ond un.' Cymh. Es. xxxiii. 22. Nid oes dim ystyr i farn na chyfraith ar wahan i'r awdurdod a'r gallu roi grym ynddynt. Pob barn nid yw ar y goreu ond cais, a chais amherffaith i ddarganfod neu ragweled barn Duw. Pan elo hi i siarad yn awdurdodol a therfynol, y mae hi'n gabledd, nid yn erbyn y sawl a gollfernir ganddi, ond yn erbyn y Deddfwr a'r Barnwr ei hun, yr hwn y trawsfeddiennir ei swydd. Dyna ystyr rhai o gwestiynau'r Arglwydd i Job, gwawdio'r ddoethineb na fedr roi grym yn ei barn. 'A orchymynnaist ti y bore er dy ddyddiau? a ddanghosaist ti i'r wawrddydd ei lle? i ymaflyd yn eithafoedd y ddaear, fel yr ysgydwer yr anuwiol allan o honi hi' (Job xxxviii. 12, 13).

Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu arall? Yn ol y darlleniad goreu, *Barnu dy gymydog*. Defnyddir ystyriaeth yr adnod hon gan Paul (Rhuf. xiv. 4), lle, o bosibl, y bwriedir cyfeiriad at eiriau Iago. 'Pwy wyt ti, yr hwn wyt yn barnu gwas un arall? I'w Arglwydd ei hun y mae efe yn sefyll neu yn syrthio.' Dechreuwyd y rhan yma o'r llythyr trwy seilio anogaeth i frawdgarwch ar gymeriad yr Anfeidrol fel Duw pob gras (i. 18, 19). Yma seilir cyffelyb anogaeth ar ei gymeriad ef fel Barnwr. A drwg mawr yr ysbryd anfrawdol y dywedwyd yma gymaint o bethau mor finiog am dano, ydyw, ei fod yn wrthryfel yn erbyn Duw. Rhai wedi

13 barnu arall? Iddo yn awr, y rhai ydych yn dywedyd,
Heddyw neu yfory ni a awn i gyfryw ddinas, ac a arhoswn

---

ymddieithrio oddi wrtho ef sydd dan ddylanwad yr ysbryd hwn. Diffyg ymgynghori âg ef, ac âg ef fel ei datguddir yng Nghrist Iesu, dyna wreiddyn y bai.

DAU RYBUDD I'R LLWYDDIANNUS (IV. 13—V. 6).

Dengys yr 'Iddo yn awr' yn nechreu pob un o'r ddwy adran yma eu bod yn perthyn yn o agos i'w gilydd, a'u bod gyd a'u gilydd yn gyfran arwahân. O i. 19 hyd iv. 12 ymdriniai'r awdwr yn bennaf â phechodau a pheryglon rhai yn enwi enw Crist. Y mae ei lygad yn y rhannau yna ar ddosbarth blaenllaw cymdeithas; eithr nid yw eto'n cyfeirio'i eiriau yn bennodol atynt hwy dan eu henwau. Gwna hynny yn iv. 13-v. 6; a thra y bu o'r blaen yn son, ar y cyfan, am adflas anuwioldeb y byd ar rai a gyfrifid yn ddisgyblion y Gwaredwr, y mae ganddo'n awr rywbeth i'w ddweud wrth ddosbarth llwyddiannus cymdeithas yn gyffredinol, pa un bynnag ai y tu fewn ai y tu allan i'r eglwys. Dyfala amryw o'r esbonwyr y byddai Epistol Iago'n o debyg o gael ei ddarllen a'i barchu gan Iuddewon rai, yn gystal a Christnogion; ac nid oes dim yn erbyn i ni dybied hynny, gan fod llawer o gyfeillach eto rhwng Cristnogion ac Iuddewon, a bod y Cristnogion yn dilyn defodau addoliad yr hen grefydd, heb law yr eiddynt eu hunain. Dyry traddodiad le i gasglu fod Iago'n dra chymeradwy, tra y bu efe byw, gan gryn nifer o'i gydgenedl y tu allan i gylch y disgyblion, a bod llawer o honynt yn bur ddigllawn wrth y rhai a barasant ei farwolaeth. (Gwel Rhaglith). Nid oes yn y ddwy adran yma fawr o le i feddwl fod y rhai a gyferchir, i gyd, na'r rhan fwyaf o honynt, yn honni meddu ysbryd Crist, a bod yn ddilynwyr iddi. Anghysondeb a hunandwyll rhai yn honni peth felly sydd hyd yma wedi cael mwyaf o sylw; ond dyma ddynion yn awr sy'n euog o anuwioldeb amlwg mewn iaith ac ymddygiad. Er cydnabod fod Duw, ni chymerent ef i'r cyfrif, ni ddisgwylient wrth ei gyngor ef, ac nid ystyrient ei lywodraeth ef arnynt, na'u cyfrifoldeb hwythau iddo.

Testynau'r rhybuddion yw: 'Beth ydyw eich einioes chwi?' (iv. 13-17), ac 'Wylwch ac udwch am eich trueni sydd yn dyfod arnoch' (v. 1-6), ansicrwydd bywyd, a sicrwydd barn.

iv. 13-17.—'BETH YW EICH EINIOES CHWI?'

13. **Iddo yn awr.** Gair i alw sylw, a hynny, o bosibl, mewn modd cyffrous, fel pe dywedem ninnau, 'dowch yn awr.'

**Y rhai ydych yn dywedyd, Heddyw neu y fory ni a awn i gyfryw ddinas.** *I'r ddinas yna*, gan ei henwi hi. *I'r ddinas a'r ddinas.*

**Ac a arhoswn yno flwyddyn, ac a farchnatawn, ac a enillwn.** Peth cyffredin ym mysg yr Iuddewon oedd newid eu trigfa'n fynych. Y mae un o'r esbonwyr yn crybwyll Acwila a Phriscila yn siampl. Gwel Act. xviii. 1-3.

Yma, fel yn nameg y goludog ynfyd (Luc xii. 15-21), y mae y drwg, nid mewn cynllunio, ond mewn gadael pethau pwysig o'r cyfrif; nid yn yr

yno flwyddyn, ac a farchnattâwn, ac a ennillwn: Y rhai 14
ni wyddoch beth *a fydd* y fory. Canys beth *ydyw* eich
einioes chwi? Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig
yn ymddangos, ac wedi hynny yn diflannu. Lle *y dylech* 15
ddywedyd, Os yr Arglwydd a'i myn, *ac os* byddwn byw, ni a

---

hyn a ddywedir ac a feddylir yn gymaint ag yn y peth a adewir heb ei ystyried. Gwneuthur eu trefniadau heb ymgynghori â Duw, fel pe bai hawl ganddynt ar eu heinioes a'i digwyddiadau oll, i'w trefnu fel y mynnent.

14. Y rhai ni wyddoch beth a fydd y fory. 'Nac ymffrostia o'r dydd yfory, canys ni wyddost beth a ddigwydd mewn diwrnod' (Diar. xxvii. 1). 'Na ofelwch dros drannoeth; canys trannoeth a ofala am ei bethau ei hun: digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun' (Mat. vi. 34).

Canys beth ydyw eich einioes chwi? *Pa fath ydyw?*

Canys tarth ydyw. *Tarth ydych,* yn ol y darlleniad goreu. Nid oes fawr fwy o rym yn yr ail 'Ganys' yma na phe dywedem ni 'wel,' neu ryw air cyffelyb i gadw cysylltiad y brawddegau. Yr oedd yn o hawdd gan awduron y pryd hynny roi cyswllt i mewn heb lawer o alw am dano o ran yr ystyr, er mwyn llyfnhau y treigliad o'r cwestiwn i'r ateb, yn lle dechreu brawddeg yn hollol noeth a dirybudd. Yr oedd ganddynt, fe ddichon, well clust at lyfndra ymadrodd nag sydd gan awduron yn awr. Cym. 1 Cor. ix. 10. 'Canys er ein mwyn ni,' lle y mae'r Cyfieithiad Diwygiedig yn darllen, 'Ië, er ein mwyn ni.' Gwnai 'Wel, tarth ydych,' neu 'Ië, tarth ydych,' y tro yn y fan yma. Yn ol Dr. Morgan, 'Tarth yn wir ydyw.'

Yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hynny yn diflannu. 'A'n henw ni a anghofir mewn amser, fel na chofio neb ein gweithredoedd; a'n heinioes ni a â fel ôl niwl, ac a wasgerir fel cwmwl, yr hwn a ymlidio pelydr yr haul, a'r hwn y byddo ei wres ef drwm wrtho' (Doethineb Solomon, ii. 4). Gwel hefyd v. 1-14 o'r un llyfr. Arganmolir yr un feddyginiaeth i'r ysbryd balch, annibynnol ar Dduw, yma ag yn i. 10-11. Meddwl beth mor anwadal yw llwyddiant, mor sigledig i roi dim hyder arno. Prydferthwch bywyd, a'i gynlluniau o'i flaen, a'i obeithion yn ymagor, nid yw ond prydferthwch niwl gwlanog y dyffryn ben bore.

15. Lle y dylech ddywedyd. Yn llythyrennol, *Yn lle dywedyd o honoch.*

Os yr Arglwydd a'i myn, ac os byddwn byw, ni a wnawn hyn, neu hynny. *Os yr Arglwydd a'i myn, ni a fyddwn byw, ac a wnawn hyn, neu hynny.* Nid rhan o'r amod ydyw cael byw, namyn rhan o'r hyn sy'n troi ar yr amod. Y mae ein bywyd ni, a'r cwbl y mae hynny'n ei gynnwys, yn llaw'r Arglwydd. Yn ei law ef y mae ein hamserau (Salm xxxi. 15). Fe â dyn, a bywyd dyn ar y ddaear, er eu lleied, yn fawr o'u cysylltu âg ewyllys Duw. Fel y sylwa Stier, nid ystyr y geiriau hyn ydyw, fod eisieu i ddyn gofio dweud 'Os yr Arglwydd a'i myn,' neu ryw air cyffelyb, yn ei lythyrau a'i ymddiddanion, fel y gwna rhai o

16 wnawn hyn, neu hynny. Eithr yn awr gorfoleddu yr ydych
17 yn eich ymffrost: pob cyfryw orfoledd, drwg ydyw. Am

---

ran defod ac arfer; ond y dylai hyn fod yn y meddwl, pa un bynnag a ddywedir ef ai peidio.

16. Eithr yn awr gorfoleddu yr ydych yn eich ymffrost. Y cyntaf o'r ddau air yna yw'r gair cyffredin am orfoledd yn yr ystyr o 'ymffrost.' Ymddengys na cheir yr ail yn y Testament Newydd ond yma ac yn 1 Ioan ii. 16, lle y cyfieithir ef 'balchder,' 'balchder y bywyd.' Rhyfedd cael dau air mor gyffelyb eu hystyr wedi eu cysylltu fel hyn. Gallai y frawddeg olygu un o ddau beth: (1) Gallai fod eu balchder mor benuchel nes peri iddynt orfoleddu ac ymorchestu ynddo. Dyma bobl heb gywilydd arnynt fod yn falch. Galwant y beilchion yn wynfydedig. Neu (2) Gallai fod y diweddaf o'r ddau air wedi ei ddodi i mewn er mwyn dangos eu dull hwy o ymorchestu, fel y cynnwysai 'yn eich hymffrost,' 'yn eich balchder,' ddarluniad o ddull eu gwagorfoledd, ac nid o'r hyn oedd yn destyn iddo. Y diweddaf sydd debycaf o fod yn iawn. Y mae y gair 'ymffrost' yn y rhif liosog, 'ymffrostiau.'

Pob cyfryw orfoledd, drwg ydyw. Pob gorfoledd ymffrostgar, pob gorfoledd y tu allan i gylch ein hawdurdod a'n hawl. Gwel Rhuf. xii. 3. Y mae'r bobl yn ymroi i'w cynlluniau, ac yn camol eu rhagolygon, fel pe hwy fuasai'n trefnu pob peth. Beth ydyw'r ysbryd iach, anystyriol yna, sy'n fyddar i bob rhybudd, wedi ymgladdu yn helyntion yr alwedigaeth, beth ydyw hwn yn y gwraidd ond angof o Dduw?

17. Am hynny. Rhy gryf braidd yn y fan yma. Gwnelsai 'felly' y tro; canys nid casgliad oddi wrth ymresymiad sydd yma, namyn diweddglo i rybudd cyffrous.

I'r neb a fedr wneuthur daioni. Medru yn yr ystyr o *wybod*, neu *fod wedi dysgu.*

Pechod ydyw iddo. Gwell, *Y mae ganddo*, neu *Y mae arno bechod*. Sef y pechod o wybod a pheidio gwneud, gwybod fod ei einioes a'i gwbl yn llaw Duw, ac eto ffurfio'i gynlluniau fel pe na buasai Duw yn bod. *A fedro ar wneuthur da, ynte, ac nis gwnelo, y mae arno bechod.* Ymddengys i mi fod cyfieithu fel yna'n dodi'r adnod yn ei lle yn y paragraff; ond yr oedd arnaf braidd ofn ei gynnyg ar fy nghyfrifoldeb fy hun, gan nad oes yr un esboniwr a ddarllenais i yn ei roi. Mi ymgynghorais gan hynny âg ysgolhaig o'r radd flaenaf, y Proffesor Richards, gynt o Gaerdydd, yn awr o Rydychen; ac y mae efe yn cwbl gymeradwyo'r cyfieithiad hwn, ac yn dyfynnu esiamplau o Roeg y Testament Newydd o'i blaid, ym mysg eraill, Actau xxi. 23. 'Y mae gennym ni bedwar gwŷr.' Yr un gystrawen yn union ag sydd yma; ac fe ddichon mai geiriau Iago oedd y rheiny hefyd, a bwrw fod Luc wedi cofnodi'n fanwl. Yr oedd Luc yno, beth bynnag. Y mae'r cyfieithiad cyffredin yn rhoi mymryn o gamosgo i'r pwyslais, ac yn rhoi lle felly i gamddeongliad. Y peth a dery ddyn gyntaf wrth ei ddarllen yw mai baich yr adnod ydyw, fod pechodau o esgeulusdod yn gystal a phechodau o gyflawniad yn bechodau mewn gwirionedd. Nis gall yr eglurhad hwnnw fod yn ei le, gan na

hynny i'r neb a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo.

---

fyddai posibl felly gysylltu'r geiriau â'r adnodau o'r blaen. Ac o ran hynny, go anawdd ydyw cael cysylltiad i'r adnod o gwbl. Myn rhai, a Mayor yn eu plith, fod yma gyfeiriad at yr holl anogaethau o i. 19 hyd yma. Ond gwell ar y cyfan olygiad Huther ac eraill, mai gwneud gosodiad cyffredinol y mae'r awdwr, a'i lygad er hynny yn bennodol ar yr hyn y mae newydd ei ddweud yn y paragraff yma. Fe ragdybir o bosibl fod rhywun yn ei ateb, wedi clywed darllen yr hyn a ddywedasid yma am y perygl o fyned yn ymarferol ddi-dduw, trwy beidio ymgynghori â Duw ym mhob dim. Gallai rhywun ateb yng ngwyneb hyn yna, mai gwirionedd plaen, cynefin iawn, ydoedd fod einioes dyn mor ddiflanedig, a'n bod ni'n dibynnu bob moment ar ewyllys yr Arglwydd. 'Yr ydym i gyd yn gwybod hynny.' 'Ië,' ebai Iago, 'ei wybod yr ydych, ac nid gweithredu wrtho.' 'Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch hwynt' (Ioan xiii. 17). Fe allai nad oes yr un bai y mae proffeswyr crefydd yn fwy tueddol iddo na hwn, cydnabod gwirionedd heb fyw yn ei lewyrch; ac ni a wyddom fod hyn yn un o hoff bynciau dysgeidiaeth Iago. Gwel i. 19-27; ii. 13-26; iii. 13.

## PENNOD V.

1 IDDO yn awr, chwi gyfoethogion, wylwch ac udwch am
2 eich trueni sydd yn dyfod arnoch. Eich cyfoeth a bydrodd,
3 a'ch gwisgoedd a fwyttâwyd gan bryfed. Eich aur a'ch
arian a rydodd; a'u rhwd hwynt a fydd yn dystiolaeth yn
eich erbyn chwi, ac a fwytty eich cnawd chwi fel tân. Chwi

---

**v. 1-6.—'WYLWCH AC UDWCH AM EICH TRUENI SYDD YN DYFOD ARNOCH.'**

1. **Iddo yn awr, chwi gyfoethogion, wylwch ac udwch am eich trueni sydd yn dyfod arnoch.** Y mae ol cynnefindra â'r proffwydi yn amlwg iawn ar y darn yma, fel yn iv. 8-10. Cymh. er engraifft Amos v. 16-17; Es. xxxiii. 9-12; Hab. ii. 9-10.

2. **Eich cyfoeth a bydrodd.** Digon tebyg mai cynnyrch y ddaear, deunydd ymborth, ŷd ac yn y blaen, a feddylir wrth y cyfoeth yma; oblegid fel y dywed Calfin, gall fod yr awdwr yn yr adnod hon a'r nesaf yn golygu enwi tri math ar olud—bwyd, a dillad, ac arian. Trwy bydru y llygrid ymborth.

**A'ch gwisgoedd a fwytawyd gan bryfed.** Dyna'r difethdod cyffredin ar ddillad, lle y bo mwy o honynt nag sydd eisieu. Yr oedd dillad yn y Dwyrain yn fath o gyfoeth a fawr hoffid; ac ymddengys fod gan foneddigion fwy lawer nag a wnai y tro, a bod, heb law y balchder o'u gwisgo, gryn hyfrydwch i rai yn eu cael a'u cadw, tebyg i'r difyrwch sydd gan rai yn awr mewn hel dodrefn diddefnydd fwy na llon'd eu tai. Y mae Adam yn coffâu hanes Joseph yn rhoddi pâr o ddillad i bob un o'i frodyr, a phum' pâr i Benjamin (Gen. xlv. 22), a gwaith Samson yn cynnyg i'w gyfeillion ddeg-ar-hugain o len-llieiniau, a deg pâr ar hugain o ddillad (Barn. xiv. 12, 13), a gallesid ychwanegu hanes Achan yn esiampl i'r un perwyl (Jos. vii. 21). Yr oedd mantell Fabilonig deg yn rhan o'r diofrydbeth.

3. **Eich aur a'ch arian a rydodd.** Cyfyd yr esbonwyr yn y fan yma gwestiwn braidd heb ei eisieu. Paham y dywedir fod aur ac arian yn rhydu? Sylw Plumptre ydyw y mwyaf digwmpas, mai arfer y gair 'rhwd' yr ydys yn gyffredinol am y llygru y mae pob metel yn agored iddo, ond ei chadw yng nghyraedd yr awyr ddigon o hyd. Y gair cryfaf a'r hawddaf ei ddeall sydd oreu mewn darluniad grymus fel hwn. Buasai manylu ar y pwnc, megis mewn traethawd ar feteloedd, yn tynnu min y cwbl.

**A'u rhwd hwynt fydd yn dystiolaeth yn eich erbyn chwi.** Neu *Yn dystiolaeth i chwi.* Y naill cyn gywired a'r llall Y mae y rhwd yn dystiolaeth, a'r pryfed a'r pydredd yr un fath, trwy ddangos fod gormod o gyfoeth gan yr un rhai. Dyna fo, yn pydru ar eu gilydd o eisieu gallu o'r rhai a'i meddant wneud defnydd o hono; a thra y mae'r ychydig yn cronni golud nad yw da i ddim, dacw'r lliaws tlodion yn goddef angen a thrueni.

a gasglasoch drysor yn y dyddiau diweddaf. Wele, y mae 4
cyflog y gweithwyr a fedasant eich meusydd chwi, yr hwn a
gam-attaliwyd gennych, yn llefain: a llefain y rhai a fed-

---

**Ac a fwyty eich cnawd chwi fel tan.** Nid yr eiddo'n unig sy'n rhydu, ond y dynion. Y mae y rhwd wedi eu cerdded hwythau, ac yn ysu eu cymeriadau fel gwahanglwyf, neu ddolur llidiog ar gnawd. Gwelsom ddillad, neu ddodrefn yr ystafell, yn cadw hadau clefyd, ac, ond odid, breswylydd yn ei gael oddi wrth y rheiny. Y mae rhwd golud y cybydd yn ei rydu yntau. 'Y mae trueni blin a welais dan yr haul, cyfoeth wedi eu cadw yn niwed i'w perchennog' (Preg. v. 13).

**Chwi a gasglasoch drysor yn y dyddiau diweddaf.** Fel yna'n ddiau, yn ol y Cymraeg a'r Saesneg Diwygiedig, nid 'erbyn y dyddiau diweddaf,' fel y Saesneg. Y mae y dyddiau eisoes wedi dechreu, y dyddiau cyn ymweled o'r Arglwydd â'r genedl mewn barn, adeg a ystyrid gan y Cristnogion cyntaf yn gyfamser a diwedd y byd. Wedi rhybuddion yr Arglwydd am ddinystr Jerusalem (Luc xiii. 1-9; xix. 41-44; Mat. xxiv.), dal y mae y rhai hyn i dyrru golud, gan anghofio'u hunain mewn moethau beunydd, ac anghofio Duw.

Y mae fod gormod o gyfoeth gan yr un rhai, ynddo'i hunan, yn berygl. Heb law ei fod yn myned yn fwy nag a all gofal a medr y perchen ei drin, y mae ei iawn ddefnyddio yn myned yn anhaws fel y bo'r swm o hono yn cynyddu. Pan fo gan yr un dyn ormod o ganghennau masnach, neu ormod o diroedd yn ei feddiant, rhaid iddo, wrth reswm, bennu rhaglawiaid ac is-raglawiaid, fel y mae pob cam sy'n cael ei wneud yn llai o ddolur i gydwybod y perchen na phe buasai'r cwbl yn uniongyrchol dan ei lygad ef ei hun. A chyda hynny buasai y gormod golud sydd gan yr ychydig o dan drefn decach yn help i leddfu dioddefiadau'r anghennog. Dywedai hen awdwr, mai ffermydd mawrion a ddifethodd yr Ital. Ni a wyddom mai un o achosion adfeiliad Israel gynt oedd prynnu y tlawd gan y goludog, a rhoi'r tiroedd at eu gilydd i ffurfio ystatiau eang i'r gwŷr mawr, yna diboblogi'r rheiny o'r teuluoedd a fuasai unwaith yn byw arnynt. 'Gwae y rhai sydd yn cysylltu tŷ at dŷ, ac yn cydio maes wrth faes, hyd oni byddo eisieu lle, ac y trigoch chwi yn unig yng nghanol y tir:' ambell i ŵr mawr yma ac acw wedi gwneud darn o wlad yn anghyfanedd, er mwyn iddo ef gael digon o le; a'r trigolion erbyn hyn yn gaethion iddo ef am eu mân ddyledion, neu yn weision cyflog iddo; 'Fel y trigoch yn unig yng nghanol y tir' (Es. v. 8). 'Ni fedrant wneuthur uniondeb, medd yr Arglwydd: pentyrru y maent drais ac yspail yn eu palasau. . . . A mi a darawaf y gauafdy a'r hafdy; a derfydd am y tai ifori; a bydd diben am y teiau mawrion, medd yr Arglwydd' (Amos iii. 10-15).

4. **Wele, y mae cyflog y gweithwyr a fedasant eich meusydd chwi.** Y mae sylw craff a chynhesol hefyd o waith Calfin ar y gair hwn—prawf, pe bai eisieu, fod y farn boblogaidd am yr awdwr hwnnw, fel un oeraidd a sychlyd, yn o bell o'i lle. Dangos y mae efe mor addas yw'r esiampl a nodir yma o blith gweithwyr yn gyffredinol, sef y medelwyr. 'Canys beth sydd waelach na llewygu a newynnu y rhai y mae eu llafur yn ein cadw ni â bara.'

asant a ddaeth i mewn i glustiau Arglwydd y lluoedd.
5 Moethus fuoch ar y ddaear, a thrythyll; meithrin eich

---

**Yr hwn a gamataliwyd gennych.** *Peidio'i dalu yn ei adeg*, neu *beidio'i dalu o gwbl.* Nid fod llawer o gyfoeth gan ryw ychydig, na'i fod yn gwneuthur niwed i'w berchen, ydyw'r unig gŵyn. Y mae, lawer o hono, heb law hynny, wedi ei gamgael.

**Yn llefain: a llefain y rhai a fedasant.** Gair gwahanol i'r un sydd yn nechreu'r adnod, ond heb ddim gwahaniaeth o bwys yn y meddwl. Fel pe dywedid, 'Cyflog y gweithwyr y rhai a laddasant eich meusydd chwi,' ac yma, "Llefain y rhai a fedasant.

**A ddaeth i mewn i glustiau Arglwydd y lluoedd.** Arglwydd *y Sabaoth*. Gwel Rhuf. ix. 29, yr unig le arall lle y ceir y gair yn y Testament Newydd. Dyfynu yr ydys yno o Esaiah i. 9.

Ymadrodd pur gynnefin yn yr Hen Destament ydyw 'llefain' yn ystyr yr adnod hon. Weithiau'r trosedd sydd yn llefain. 'Llef gwaed dy frawd sydd yn gwaeddi arnaf fi o'r ddaear' (Gen. iv. 10). 'Am fod gwaedd Sodom a Gomorrah yn ddirfawr, a'u pechod hwynt yn drwm iawn; disgynaf yn awr, ac edrychaf, ai yn ol eu gwaedd a ddaeth ataf fi y gwnaethant yn hollol; ac onid ê, mynnaf wybod' (Gen. xviii. 20-21). Waith arall y neb a gafodd gam trwy y trosedd sy'n llefain. Felly mewn ysgrythyr sy'n ddiameu braidd ar feddwl Iago wrth ysgrifennu'r geiriau (Deut. xxiv. 14-15). 'Na orthryma was cyflog tlawd ac anghenus o'th frodyr, neu o'th ddieithrddyn a fyddo yn dy dir, o fewn dy byrth di. Yn ei ddydd y rhoddi iddo ei gyflog; ac na fachluded yr haul arno; canys tlawd yw, ac â hyn y mae yn cynnal ei einioes, fel na lefo ar yr Arglwydd yn dy erbyn, a bod pechod ynot.' Cyfunir y ddwy lef yn y fan yma, llef euogrwydd y gorthrwm, a llef gofidiau y gorthrymedig. Llithra'r awdwr yn bur naturiol o'r naill i'r llall. Y mae'r gyflog a gamataliwyd yn llefain; a llefain y rhai a fedasant a ddaeth i mewn i glustiau Arglwydd y lluoedd.

Y mae'n werth holi, nid mewn ysbryd rhagfarnllyd, ond er mwyn bod yn fyw i beryglon golud, pa faint o oludoedd anferth ein dyddiau ninnau a gasglwyd heb drais a cham? Gall fod perchennog presennol y golud yn eithaf diniwed; gall fod y golud ei hun, ar hyn o bryd, yn cael ei ddefnyddio'n weddol ddoeth; ond pe caem yr hanes i gyd yn onest, pa faint o weithwyr fu'n gweithio ar lai na digon o dâl? Pa sawl cydymgeisydd a andwywyd trwy werthu'n rhy rad? Pa sawl rhuthr creulawn a wnawd i werthu dyn i fyny, heb fod yr elw i'r echwynnwr yn ddim byd tebyg i gyfartal â'r golled i'r dyledwr? Pe caem ni wybod hyn oll, fe welid, y mae lle i ofni, mai ychydig o dai mawrion yn ein dyddiau ninnau a adeiladwyd heb waed.

Y mae Arglwydd y lluoedd eto yn dyst cyflym yn erbyn camatalwyr cyflog y cyflogedig, a'r rhai sydd yn gorthrymu'r weddw a'r amddifaid a'r dieithr ac heb ei ofni ef (Mal. iii. 5).

**5. Moethus fuoch ar y ddaear a thrythyll.** Dyma'r golud a gamenillwyd yn cael ei gamdreulio. Un o'r creaduriaid mwyaf dirmygus

calonnau a wnaethoch, megis mewn dydd lladdedigaeth.
Condemniasoch *a* lladdasoch y cyfiawn; *ac* yntau heb sefyll 6

---

ar wyneb daear ydyw dyn cybyddlyd at bob diben ond ei ddibenion llygredig ei hunan. Onid adwaenom ni ugeiniau o bobl glyd arnynt, na cheir ganddynt ond ychydig sylltau at unrhyw elusen neu waith da, lle y gwariant yn ddireswm ar foethau iddynt eu hunain? A dengys profiad pob cenedl weddol lwyddiannus fod moethau a seguryd yn magu llygredigaethau.

**Meithrin eich calonnau a wnaethoch, megis mewn dydd lladdedigaeth.** Nid yw'r 'megis' i fod i mewn. Y mau dau feddwl gwahanol iawn ar ystyr y geiriau diweddaf. (1) Barna'r rhan fwyaf o'r esbonwyr Saesneg mai dydd y farn oedd i fod ar y cyfoethogion ydyw 'dydd lladdedigaeth.' Pesgasant eu hunain fel ychain, yn ddifeddwl am eu diwedd; a daliant i bori yn y dydd a bennwyd i'w lladd. (2) Y syniad arall ydyw'r un oedd gan y copiwyr wrth roi 'megis' i mewn, mai darluniad sydd yma, fel yn yr adnod i gyd, nid o'r farn, ond o fywyd moethus y rhai oedd yn tynnu'r farn arnynt. Diwrnod gwledda ydyw diwrnod lladd; a byw yr oedd y bobl yma fel pe buasai hi'n ddydd lladdedigaeth arnynt o hyd. Y mae awdurdod Plummer—yr esponiwr goreu y gwn i am dano, ni ddywedaf ar y llyfr i gyd, ond ar y paragraff hwn yn bendifaddeu—dros feddwl y cymer y geiriau 'mewn dydd lladdedigaeth' yr ystyr yna yn eithaf teg, heb roi 'megis' o'u blaenau; ac er na phenderfynna Plummer ei hun yn rhyw groew iawn rhwng y ddau olygiad, fe ddyfynna ysgrythyr sydd yn help, dybygid, i benderfynnu o blaid y diweddaf o'r ddau (Esaiah xxii. 12-13). 'A'r dydd hwnnw y gwahoddodd Arglwydd Dduw y lluoedd rai i wylofain, ac i alarnad, ac i foeledd, ac i ymwregysu â sachlian: ac wele lawenydd a gorfoledd, gan ladd gwartheg, a lladd defaid, gan fwyta eu cig, ac yfed gwin: bwytawn ac yfwn, canys y fory, meddant, y byddwn feirw.' Yn awr ni ganfyddwn gyffelybrwydd mawr rhwng dechreu'r paragraff hwn a'r ysgrythyr yna. 'Wylwch ac udwch am eich trueni sydd yn dyfod arnoch,' fel y mae'n ddigon tebyg fod y broffwydoliaeth ym meddwl Iago; ac os felly, diau fod y darlun yna o ladd gwartheg, a defaid, a gwledda, yn ei feddwl ac mai dyna sydd i'w ddeall wrth ddydd lladdedigaeth.

6. **Condemniasoch a lladdasoch y cyfiawn; ac yntau heb sefyll i'ch erbyn** '*Euocâu a wnaethoch a lladd y cyfion*' (William Salesbury). *Yntau nid yw'n sefyll i'ch erbyn.* Fe all y gorthrymwyr hyn gyflawni llawer o'u pechodau yng nghysgod cyfraith. Dan rith cyfraith yr aeth Jezebel â gwinllan Naboth oddiarno. Cyfodi dau o dystion, gwŷr y fall, i ddwyn camdystiolaeth yn ei erbyn ef (1 Bren. xxi. 1-16). Felly yn ddiau y byddai'r rhai a echwynnent i'w brodyr yn nyddiau Nehemiah (Neh. v. 1-13), yn cymeryd eu meusydd a'u gwinllanoedd yn wystlon ganddynt. Ystyrient eu hunain, y mae bron yn sicr, o fewn eu hawliau cyfreithiol wrth wneud hynny. Ac felly, nid oes dim dwywaith, y gwnai cyfoethogion dyddiau Iago. Gwel ar ii. 8. 'Condemniasoch y cyfiawn.' Os dywedwn ninnau, i esgusodi'r gorthrwm masnachol a gweithfäol sy'n bod yn y dyddiau hyn, mai ar drefn cymdeithas y mae y bai, nid ar bersonau; nid yw hynny yn gwella dim ar y drwg, ond yn unig gwneud y

gymdeithas i gyd yn gyfrifol am dano. A dyma a ddywedir gan y doreth o'r rhai sy'n gwasgu eu gweithwyr er mwyn elw, ac yn cymeryd pob mantais ar weiniaid, a ddyry'r gyfraith o fewn eu cyraedd. Dywedant fod y gystadleuaeth mor frwd, fel y mae'n rhaid tynnu'r prisiau i lawr i'r geiniog isaf. Beiant y drefn sydd ar gymdeithas. I'r graddau y mae hynny'n deg, yr ydym ni oll, y prynwyr yn gystal a'r gwerthwyr, yn gyfrifol; ac y mae y peryglon sy'n cydfyned â chynnydd golud yn haeddu mwy o sylw o lawer i'r graddau y mae cymdeithas yn gyfan, ac nid dynion unigol, i'w beio am danynt.

Condemniasoch a lladdasoch y cyfiawn. Y mae yr erledigaeth yn un grefyddol yn gystal a chymdeithasol, ac yn codi o anian wrthwyneb i'r bywyd distaw, oedd yn gymaint o gondemniad ar eu bywyd rheibus, ariangar, hwy. Gallai fod y lladd yma fel yn iv. 2, yn cynnwys, heblaw merthyru llythyrennol, bob rhyw erlid, cymdeithasol a chrefyddol, oedd yn gyfystyr a lladd: chwalu teuluoedd, difa cysuron, torri calonnau yr hen, a difwyno a chwerwi bywyd yr ieuanc. Ond yr oedd tywallt gwaed y merthyron, rhai fel Stephan, ac Iago brawd Ioan, yn beth y gwyddai darllenwyr yr epistol yn rhy dda am dano. Ni a wyddom mor fynych y byddai'r Iuddewon anghredadyn yn ymosod ar bregethwyr Iesu Grist. Hwy, y rhan amlaf, fyddai'n cynhyrfu'r cenhedloedd yn eu herbyn hwy. Gwel Actau xiv. 1-7, 19. Yr un ymwybyddiaeth reddfol fod bywyd diorchest dyn da yn gerydd distaw ar y gwŷr mawr, ydyw'r cyfrif a rydd Llyfr Doethineb Solomon am greulondeb y rhai sy'n condemnio'r cyfiawn. Y mae y darn yn werth ei ddyfynnu, fel yr esboniad goreu ar yr adnod hon. Diau fod Iago yn meddwl am dano wrth ei hysgrifennu hi, a'i fod ef yn gweled yn y rhan o'r Apocrypha, nid yr hyn a ddywedai y gorthrymwyr, ond darluniad teg o'r teimlad, hanner diarwybod, oedd yn rhoi bod i'w gweithredoedd hwy.

'Na fydded neb o honom ni heb ei ran o ddifyrrwch; gadawn ym mhob man arwyddion o'n llawenydd: oblegid hyn yw ein rhan ni, a dyma ein dogn ni. Gorthrymwn y tlawd cyfiawn, nac arbedwn y weddw, ac na pharchwn hirhoedlog benllwydni yr hynafgwr. Bydded ein cryfder ni yn lle cyfraith gyfiawn: canys gwendid a geryddir fel peth difudd. Cynllwynwn gan hynny i'r cyfiawn, am ei fod ef yn anfuddiol i ni; y mae efe hefyd yn erbyn ein gwaith ni, ac yn edliw y pechodau sydd yn erbyn y gyfraith, ac yn cyhoeddi er gogan i ni y pechodau sydd yn erbyn ein haddysg ni. Y mae efe yn ymhonni fod ganddo wybodaeth o Dduw, ac yn ei alw ei hun yn blentyn i'r Arglwydd. Efe a wnaed i argyhoeddi ein meddyliau ni. Trwm gennym ei weled ef; am fod ei fuchedd ef yn anhebyg i'r eiddo eraill, a bod ei ffyrdd ef ar ddull arall. Y mae efe yn ein cyfrif ni yn blant o ordderch, ac yn ymgadw rhag ein ffordd ni, megis rhag peth aflan; y mae efe yn cyfrif diwedd y rhai cyfiawn yn ddedwydd, ac yn ymhonni fod Duw yn dad iddo. Edrychwn ai gwir ei eiriau ef, a mynnwn wybod yn sicr beth a fydd ei ddiwedd ef. Oblegid os Mab Duw yw'r cyfiawn, efe a'i derbyn ef, ac a'i gwared ef o ddwylaw ei wrthwynebwyr. Holwn ef yn amharchus ac yn gystuddiol, fel y caffom wybod ei addfwynder ef, a phrofi ei ddioddefgarwch ef. Barnwn ef i farwolaeth waradwyddus; oblegid fe a synnir arno medd efe' (Doethineb ii. 9-20).

Yn ol yr adnod gyntaf o'r bennod yn Llyfr Doethineb, dyma ran o'r hyn a ddywed yr annuwiol ynddynt eu hunain, 'gan feddwl ond nid yn uniawn.'

i'ch erbyn. Byddwch gan hynny yn ymarhous, frodyr, hyd 7
ddyfodiad yr Arglwydd. Wele, y mae y llafurwr yn disgwyl
am werthfawr ffrwyth y ddaear, yn dda ei amynedd am

---

Fe'n tueddir ni yn naturiol, dybygid, gan y desgrifiad yna, a chan ymadroddion Iago ei hun, i feddwl am y cyfiawn fel cynnrychiolydd dosbarth (Plummer), a olygir yn y lle hwn. Eithr y mae eglurhad arall yn haeddu ei grybwyll, ac esbonwyr da'n dadleu drosto; a dyna ydyw hwnnw, mai at waith yr Iuddewon yn traddodi'r Arglwydd Iesu i farwolaeth y mae'r geiriau yn cyfeirio. Y mae 'y cyfiawn' yn enw ar yr Arglwydd Iesu yn araeth Stephan (Actau vii. 52). 'Dyfodiad y cyfiawn hwnnw, i'r hwn yr awrhon y buoch chwi fradwyr a llofruddion'—ac yn adroddiad Paul o eiriau Ananias—(Actau xxii. 14). 'I weled y cyfiawn hwnnw.' A gellir cydnabod fod marwolaeth yr Iesu yn esiampl, a'r esiampl waethaf, o'r hyn a ddarlunir yn yr Apocrypha, ac o'r hyn sydd gan Iago mewn golwg; ond y mae dweud mai cyfeirio at hynny ydyw neges yr adnod yn ei thynnu hi i fesur o'i chysylltiadau.

## DAU GYNGOR I'R ADFYDUS (V. 7-20).

Fel y cawsom ddau rybudd i'r dosbeirth blaenllaw, wele eto ddau gyngor i'r iselradd a'r profedigaethus. Dyma eu prif gyfeiriad, bid a fynno; canys er mwyn gwneud yr addysg yn gyflawn, yn ol arfer Iago, y dygir y neb sydd esmwyth arno i mewn yn adn. 13. Ond fel yr oedd un o'r ddau rybudd yn dipyn mwy cyffredinol na'r llall, felly y mae un o'r ddau gyngor hefyd, sef yr anogaeth i weddïo. Yr un sy'n perthyn yn fwyaf pennodol i'r dosbarth gorthrymedig ydyw'r cyntaf o'r ddau: testyn hwnnw yw amynedd; ac fe ddaw i mewn yn bur addas ar gyfer y rhybudd i'r gorthrymwyr (v. 1-6).

### 7-11.—Amynedd.

'Byddwch gan hynny ymarhous' ydyw testyn yr adran yma. Y mae'r epistol yn dechreu ac yn dibennu gyd â'r profedigaethus. Yr oedd mwy nag un casgliad y gallasent hwy ei dynnu oddi wrth ymosodiad llym yr awdwr ar y cyfoethogion. Un oedd, gan fod y gorthrymwyr hyn yn tynnu barn Duw arnynt, mai teg fyddai i ddynion ymosod arnynt mewn dull chwildroadol rhag blaen, codi yn eu herbyn trwy derfysg a thywallt gwaed; ond nid dyna'r casgliad cywir. Gan fod barn Duw yn sicr, ac yn ymyl, hi fforddia i ddynion fod yn ymarhous.

7. **Byddwch gan hynny hirymarhous, frodyr, hyd ddyfodiad yr Arglwydd.** Yr un gair ag sydd yn 2 Thes. ii. 8, 'Disgleirdeb ei ddyfodiad;' ac yn 2 Pedr iii. 4, 'Addewid ei ddyfodiad ef.'

**Wele, y mae y llafurwr yn disgwyl am werthfawr ffrwyth y ddaear, yn dda ei amynedd am dano.** *Yn hirymarhous am dano*, er mwyn cadw'r un gair drwodd.

**Nes iddo dderbyn y gwlaw cynnar a diweddar.** Cyfeiriai y 'gan hynny' yn nechreu'r adnod at sicrwydd y farn y proffwydasid am dani yn yr adnodau o'r blaen. 'Byddwch ymarhous, gan fod barn yn dilyn

8 dano, nes iddo dderbyn y gwlaw cynnar a diweddar. Bydd-
wch chwithau hefyd dda eich amynedd; cadarnhêwch eich

---

y gorthrwm, a hynny ar fyrder.' Yn awr diffyg ffydd yn yr egwyddorion digyfnewid a wnant y farn yn sicr sydd yn peri diffyg amynedd yn y brodyr. Bradychu anghrediniaeth yn llywodraeth y Brenin Mawr y mae brys i ddial ein cam ein hunain, a'r awydd i unioni drygau cymdeithas âg ychydig darawiadau byrbwyll. Nid yw'r farn, y mae'n wir, yn dyfod mor fuan ag y disgwyliasem ni; eithr yn hynny nid yw hi ond dilyn dull cyffredin y Barnwr o weithio ym mhob cylch. Ar yr un egwyddor yn union y mae efe yn gweithio mewn natur. Gwaith graddol iawn ydyw addfedu cnwd y ddaear. A graddol y mae y cynhauaf ysbrydol yn addfedu. Cynhauaf barn ydyw hwnnw yma, yn wahanol i'r defnydd cyffredin a wneir gan yr Arglwydd Iesu o'r un ddameg, er ei fod yntau yn gwneud y defnydd hwn o honi hi weithiau, yn nameg yr efrau er esiampl (Mat. xiii. 41, 42). Ond cynnydd y deyrnas sydd mewn golwg yn bennaf yn namhegion Crist, megis yn nameg yr had yn tyfu'n ddirgel (Marc iv. 26-29). Yn Dat. xiv. 14-20, cawn y ddau ffigiwr ochr yn ochr. Cynhauaf y ddaear yn gynhauaf gras, a chynhauaf gwinwydden y ddaear yn gynhauaf barn.

8. **Byddwch chwithau hefyd dda eich amynedd.** *Hirymarhous* eto. Dyry'r Gymraeg fantais neillduol yn y fan yma i gadw pwyslais y gwreiddiol; a gwnaeth y cyfieithwyr ddefnydd hapus o hynny.

**Cadarnhewch eich calonnau, oblegid dyfodiad yr Arglwydd a nesaodd.** Y mae y gair hwn yn un o amryw yn Epistolau'r Testament Newydd sy'n golygu fod dyfodiad diweddaf yr Arglwydd, a diwedd y byd, ger llaw (1 Thes. iv. 15-17; 1 Cor. xv. 51, 52; 1 Pedr iv. 7). Yr unig ddadl dros chwilio am ryw ystyr iddynt, heb law yr un blaen sydd ar wyneb y geiriau, ydyw y syniad nas gall fod yr apostolion wedi camddeall addewid eu Harglwydd yn y manylion lleiaf, hyd yn oed yn y pwnc yr oedd efe wedi eu dysgu'n bendant na pherthynai iddynt wybod am dano (Actau i. 7). Os myn neb ddal yn dŷn at y syniad yna, yr hen esboniad ydyw'r ffordd rwyddaf i ddyfod o'r dyryswch, sef bod ffydd gref y disgyblion cyntaf yn diddymu amser, ac yn gwneud y diwedd pell yn agos i'w teimlad hwy. Ond symlach lawer ydyw cymeryd y geiriau yn eu hystyr naturiol, yr ystyr a roisem ni iddynt yn ddibetrus pe na buasai dim ym mlaen-llaw i'n tueddu fel arall. Paham na allai fod proffwydi'r Testament Newydd, yn gystal a phrophwydi'r Hen, yn ymofyn—heb gyfarwyddyd eglur, terfynol, ar bob peth, pa bryd, neu pa ryw amser yr oedd ysbryd Crist yr hwn oedd ynddynt yn ei hysbysu (1 Pedr i. 11)? Gwel ysgrif ar 'Ddyfodiad yr Arglwydd' yn niwedd yr esboniad hwn.

Yr unig ymholiad pellach o bwys ydyw hwn, A ydym ni, wrth addef camgymeriad yn y disgyblion cyntaf am adeg y dyfodiad diweddaf, yn dirymu'r addysg a seilient hwy ar hyn o bwnc? O'm rhan i mi atebwn yn gryf, nac ydym mewn un modd. Rhag crwydro'n rhy bell oddi wrth yr adnod dan sylw, ni a gyfyngwn ein hunain i'r defnydd a wneir o'r pwnc gan Iago yn y fan yma, a chan Pedr yn 1 Pedr iv. 7, lle, o bosibl, y mae Pedr yn meddwl am ddywediad Iago.

calonnau: oblegid dyfodiad yr Arglwydd a nesâodd. Na 9
rwgnechwch yn erbyn eich gilydd, frodyr, fel na'ch con-
demnier: wele, y mae y Barnwr yn sefyll wrth y drws.

---

Yr anogaeth a sylfeinir yno ar yr ystyriaeth fod diwedd pob peth wedi nesau ydyw, 'Byddwch sobr a gwyliadwrus i weddïau.' A'r anogaeth a roddir yma, ar yr un sail ydyw, 'Byddwch ymarhous . . . cadarnhewch eich calonnau.' Mae y ddwy yn dyfod bron i'r un peth o ran y defnydd a wneir yn y ddau le o athrawiaeth yr ail ddyfodiad. Defnyddia'r ddwy ysgrythyr yr athrawiaeth am yr ail ddyfodiad i sobri a sefydlogi meddyliau y saint. Yn awr, nid oes dim gronyn llai o rym yn y meddwl am ddyfodiad yr Arglwydd Iesu, o'i ystyried yn ddyfodiad ysbrydol, at gyrraedd y diben yna; ac yn wir fe ddefnyddia Paul yr un ddadl dros arafwch yn yr epistol at y Philippiaid, lle yr ymddengys nad yw efe mwyach yn gobeithio bod ei hunan ym mysg y rhai byw fydd yn croesawu'r Ceidwad yn niwedd y byd. Disgwyliad yn perthyn i gyfnod cynarach ar ei weinidogaeth ydoedd hwnnw. Gwel isod. Son am ei ddatod a bod gyd â Christ y mae yn yr epistol at y Philippiaid. Eto hyd yn oed yno y mae'n dywedyd, 'Bydded eich arafwch yn hysbys i bob dyn: y mae yr Arglwydd yn agos' (Phil. iv. 5). Y mae agosrwydd ysbrydol yr Iesu lawn cyn gryfed rheswm dros fod yn sobr, yn wyliadwrus, yn arafaidd, yn ymarhous; fel nad ydym ni, wrth wneud defnydd eangach o addewid nag oedd o flaen meddwl rhai o'r ysgrifenwyr sanctaidd—y defnydd hwnnw'n wir oedd gan yr Iesu ei hun mewn golwg wrth orchymyn iddynt wylio a bod yn barod—yn tynnu dim oddi wrth werth crefyddol yr addewid fawr. Nid ydym wrth roi dehongliad ysbrydol i'r broffwydoliaeth, yn lle deongliad priod, yn gwneud dim cam â hi. Ni a wyddom fod ystyr bellach yn aml i eiriau proffwydoliaeth nag y mae y proffwyd ei hun yn ymwybodol o honi; ond er mwyn cael hyd i honno gwell i ni yn gyntaf, bob amser, ofyn beth oedd ystyr y broffwydoliaeth i'r proffwyd ei hun.

**9. Na rwgnechwch yn erbyn eich gilydd, frodyr, fel na'ch condemnier: wele, y mae y Barnwr yn sefyll wrth y drws.** Nid yw y cam yr ydym yn ei weled, na'r cam yr ydym yn ei gael, yn rhoi cennad i ni ymollwng i ysbryd grwgnach. Gwel ar iii. 1, ac ar iv. 11, 12. A chymharer Mat. vii. 1-5. *Wrth y drws. Wrth y drysau.* Gair y Gwaredwr wrth broffwydo am ei ddyfodiad (Marc xiii. 29), gan gyfeirio, yn un peth, beth bynnag, at ddinystr Jerusalem; oblegid yr oedd hwnnw hefyd yn ddyfodiad o'i eiddo ef; a chyflawnwyd y farn ragderfynedig yn y rhyfel hwnnw ar lawer o Iuddewon y wasgarfa yn gystal ag ar Jerusalem ei hun. Y mae 'wrth y drws' llawn cyn gywired cyfieithiad, a bwrw fod y gair Cymraeg 'drws' yn golygu'r holl agorfa, ac nid yn unig y dorau sydd yn ei chau hi. Drws a dorau dwbl arno, mae'n debyg, ydyw'r meddwl.

Cawn yn y ddau baragraff hyn ryw ddwy olwg ar yr un gorthrymder. Y mae Iago yn ei feio'n ddiarbed, fel gwaith dynion sy'n anghofio Duw; eithr, er nas gellir ei gyfiawnhau o gwbl, gall ei fod, er hynny, yn llaw Duw, yn foddion gras i'r rhai sydd dan y ddyrnod. Y mae hyd yn oed y cam a gawn ni gan ddynion yn rhan o'r dioddef sydd yn foddion i'n sancteiddio, fel y dylem ni dderbyn, megis o law ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd, brofedigaethau nad yw y dynion sy'n eu peri o gwbl i'w cyfiawnhau. 'Y

F

10 Cymmerwch, fy mrodyr, y prophwydi, y rhai a lefarasant
yn enw yr Arglwydd, yn siampl o ddïoddef blinder, ac o hir-
11 ymaros. Wele, dedwydd yr ydym yn gadael y rhai sydd
ddïoddefus. Chwi a glywsoch am amynedd Job, ac a

---

cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?' (Ioan xviii. 11). Yr oedd Herod a Phontius Pilat, ac archoffeiriaid a henuriaid yr Iuddewon, ym mysg y rhai a estynent y cwpan iddo; eithr llaw ei Dad a welai efe yn y cwbl. Gan hynny y mae grwgnach yn erbyn ein gilydd yn rwgnach yn erbyn Duw. Dywedir weithiau fod crefydd yr Arglwydd Iesu Grist yn dysgu pobl i ddygymod yn rhy lwyr â phethau fel y maent. Ni choelai neb a ddarllennai y ddau baragraff yma gyd â'u gilydd byth mo hynny. Cawn yma'r dinoethi mwyaf diarbed, o'r naill ochr, ar drais a gorthrwm, fel y mae yn waith dyn, ac eto, o'r tu arall, yr anogaeth gryfaf i ddygymod âg ef fel disgyblaeth o ddwyfol ordeiniad. Y mae'r ddau beth yn hollol gydwedd â'u gilydd, dioddef yn dawel, a dal, er hynny, ar bob cyfle teg i wrthsefyll y cam.

10. **Cymerwch, fy mrodyr, y prophwydi, y rhai a lefarasant yn enw yr Arglwydd, yn siampl o ddioddef blinder, ac o hir-ymaros.** Wedi annog i hir-ymaros, â'r awdwr ym mlaen i nodi esiamplau—y proffwydi a Job. Gellir nodi Elias, a Jeremiah, a Daniel, yn engreifftiau o broffwydi a fu dan erledigaeth. Cymh. hefyd Luc xiii. 34. 'Siampl' yw gair mawr adn. 10. Y mae wedi ei ddodi ar ei dechreu hi, er mwyn pwyslais, bron fel pe dywedasid, 'Os ydych am esiampl o ddioddef blinder, fy mrodyr, ac o hir-ymaros, cymerwch y proffwydi. . . .'

11. **Wele, dedwydd yr ydym yn gadael y rhai sydd ddioddefus.** Arferir y gair 'gadael' yn yr ystyr sydd iddo yma, sef cyfrif neu ystyried, mewn rhai ardaloedd yn awr, Coris, er engraifft. Cymh. gwynfydau y bregeth ar y mynydd, Mat. v. 3-12. Cwyno a chwyno i'n gilydd y byddwn ni pan ddaw blinder, ac eto cyfrifir dioddefwyr y byd yma ym mysg ei oreuon ef. Pe gallem edrych ar ein dioddef ein hunain â llygaid hanes—anghofio felly mai nyni sydd yn dioddef—ni a'n cyfrifem ein hunain yn ddedwydd, ond odid yr un modd.

**Chwi a glywsoch am amynedd Job.** Dyma'r gair cyffredin am amynedd. Gwel ar i. 2-8.

**Ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd.** Cyfyd Plumptre gwestiwn amryw weithiau yng nghorff yr epistol wrth ei esbonio—Pa un ai Duw Dad ynte'r Arglwydd Iesu a feddylir wrth y gair 'Arglwydd,' ynte Duw heb wahaniaethu personau? Yn yr epistol hwn nid yw'r ymholiad yn un o nemawr bwys fel pwnc o esboniad, ond yn yr adnod hon. Y mae esbonwyr rai yn cyfrif mai marwolaeth yr Arglwydd Iesu a feddylir yma; ac y mae'r awydd am gael, o leiaf, un cyfeiriad clir at angau'r groes yn yr epistol yn gyrru rhagfarn dyn o blaid yr eglurhad hwnnw. Yr ydym yn synnu na buasai Iago'n crybwyll y croeshoeliad, lle y buasai hynny yn ateb ei ddiben mor dda. Gwna Pedr hynny ddwywaith wrth annog i ddioddefgarwch (1 Pedr ii. 21-25, iii. 18). Ond digon o waith fod yr esboniad yna'n gywir, er ei brydferthed; oblegid yn un peth, ystyr

welsoch ddiwedd yr Arglwydd: oblegid tosturiol iawn yw yr
Arglwydd, a thrugarog. Eithr o flaen pob peth, fy mrodyr, 12

---

yr Hen Destament sydd gan Iago i'r Arglwydd, ond yn i. 1, ii. 1, v. 14, 15, sef Jehofah, Duw, heb wahaniaethu personau. 'Na feddylied y dyn hwnnw y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd.' Nid yr Arglwydd Iesu a feddylir yn y geiriau yna; oblegid Duw a arferir yn yr adnodau o'r blaen ('Gofynned gan Dduw') am wrthrych y weddi. Yr un fath y rhaid dweud, mae'n debyg, am iv. 10, ac am yr un rheswm. 'Ymddarostyngwch i Dduw' meddai adn. 7, ac 'Ymddarostyngwch ger bron yr Arglwydd' meddai adn. 10. 'Yr Arglwdd a'r Tad' yw'r darlleniad cywir yn iii. 9, sef *yr hwn sydd yn Arglwydd ac yn Dad.* Nid yw hyn, fe addefir, yn ol defod gyffredin y Testament Newydd; ond ni a wyddom fod Iago yn byw ar y terfyn rhwng y ddwy oruchwyliaeth. Gwel Rhaglith.

Chwaneg, beth bynnag am ystyr gyffredin y gair Arglwydd yn Epistol Iago, y mae'n eglur mai nid yr Iesu'n bennodol a feddylir yn yr adnod ei hun. 'Tosturiol iawn yw'r Arglwydd, a thrugarog,' ydyw y gair nesaf yn yr un frawddeg. Prin y dywedid yn noeth, ac heb unrhyw eglurhad, fod tosturi a thrugaredd yr Arglwydd Iesu Grist yn rheswm dros y diwedd a ddaeth iddo. Er y buasai hynny'n wir, buasai yn wirionedd rhy newydd ac estronol i gyweirnod y frawddeg hon, yn enwedig i feddwl ei ddwyn i mewn yn y cymal diweddaf o honi. Ac os 'Duw' a feddylir wrth y gair yn niwedd yr adnod, yr un fath y dylid yn sicr ei esbonio yn ei chanol hi. Mwy naturiol gan hynny ydyw deall fod yr 'Arglwydd' yn y ddau gymal fel eu gilydd, yn weithredydd, ac nid yn ddioddefydd.

Felly rhaid i ni syrthio'n ol ar yr eglurhad sydd yng nghyfieithiad Dr. Morgan, 'Y diwedd a wnaeth yr Arglwydd,' sef y diwedd a wnaeth efe i Job, wedi iddo hir-ymaros (Job xlii. 10). A dyma'r esboniad a dderbynir yn o gyffredin.

**Oblegid tosturiol iawn yw yr Arglwydd, a thrugarog.** Nid amynedd dall yw amynedd y dyn duwiol, ond amynedd yn medru ymdawelu, gan ei bod hi'n gweled diwedd yr Arglwydd, ac yn deall ei drugaredd ef.

12-20.—GWEDDI.

Ni fyddai waeth mo'r llawer gyd â pha un o'r ddau gyngor y rhown ni'r ddeuddegfed adnod; eithr fe allai ei bod hi'n fwy o arweiniad i'r hyn sydd yn dilyn nag o ddiweddglo i'r hyn a aeth o'r blaen. Y mae ei chysylltiad hi â'r adnodau o'r blaen, y mae'n wir, yn eglur ar y wyneb; ond y mae ei chysylltiad hi â'r paragraff ar weddi, wedi unwaith ei weled, yn un agos a chryf.

Gellid rhannu y gyfran yma fel hyn:—

12, 13.—Gweddi yn foddion gras.
14-16.—Effeithiolrwydd gweddi.
17-18.—Esiampl Elias.
19, 20.—Prif destyn gweddi.

na thyngwch, nac i'r nef, nac i'r ddaear, nac un llw arall:
eithr bydded eich ïe chwi yn ïe, a'*ch* nag ê yn nag ê; fel na
13 syrthioch i farnedigaeth. A oes neb yn eich plith mewn

---

12, 13.—*Gweddi'n foddion gras.*

12. **Eithr o flaen pob peth, fy mrodyr.** *O flaen pob peth o'r pethau yr ydys yma'n son am danynt.* **Na thyngwch.** Y ffurf fwyaf haerllug ar y diffyg amynedd y rhybuddir ni rhagddo yn yr adran o'r blaen. Y mae grwgnach yn erbyn ein gilydd, a byrbwylldra mewn ymgais i wella pethau—meddwl fel Moses mai gwaith un-dydd un-nos ydyw dryllio iau caethiwed ein brodyr—y mae hynny yn dangos diffyg ffydd yn Nuw fel Llywodraethwr a Barnwr; ond y mae galw Duw yn dyst yn erbyn ein gilydd, a'i wahodd ef i gydweithio â'n cynddaredd ni, yn gwneud hynny mewn modd amlycach a mwy ymwybodol. 'Yr hwn sydd fawr a ddywed lygredigaeth ei feddwl.' Y mae Mayor yn datgan ei syndod mai tyngu ac nid rhegu a ddywedir yma; ond nid yw y terfyn rhwng y ddau mor groew a hynny. Fe gynnwys tyngu bob math o apel at Dduw yn erbyn ein gilydd.

**Nac i'r nef, nac i'r ddaear, nac un llw arall.** 'Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt, Na thwng anudon; eithr tâl dy lwon i'r Arglwydd. Ond yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, na thwng ddim, nac i'r nef, canys gorseddfa Duw ydyw; nac i'r ddaear, canys troedfainc ei draed ydyw; nac i Jerusalem, canys dinas y Brenin mawr ydyw. Ac na thwng i'th ben, am na elli wneuthur un blewyn yn wyn neu ddu. Eithr bydded eich ymadrodd chwi, Ië, ïe, a Nag e, nag e; oblegid beth bynnag sydd dros ben hyn, o'r drwg y mae' (Mat. v. 33-37). Y mae Mayor yn dyfynnu Philo—er yr ymddengys nad yw Philo ar y pwnc hwn yn hollol gyson âg ef ei hun—i ddangos dull yr Iuddewon o osgoi cymeryd enw Duw yn llw, trwy ddyfeisio rhyw fân lwon, rhai diniweitiach yn eu tyb hwy, yn ei le. O Mayor yr wyf yn cyfieithu: 'Os rhaid i ddyn dyngu, na thynged i Dduw, ond i'r ddaear, yr haul, y lloer, y ser, y nefoedd.' Ac yn erbyn y gwahaniaeth gwneud yna rhwng llw a llw y mae prif ergyd yr adnod hon, yng nghyd a dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu, yn y bregeth ar y mynydd ac yn Mat. xxiii. 16-22.

**Eithr bydded eich ie chwi yn ie, a'ch nag e yn nag e.** Ar ymyl y ddalen yn y Cyfieithiad Diwygiedig, *Yr ïe, ïe, a'r nag e, nag e, a fyddo gennych chwi.* Sef ïe, ïe, a nag e, nag e, y bregeth ar y mynydd.

**Fel na syrthioch i farnedigaeth.** Neu *Dan farn,* sef barn condemniad Duw. Gwel ar i. 20.

13. **A oes neb yn eich plith mewn adfyd?** Yr un gair a 'dioddef blinder' yn adn. 11. Awgrym fod yma gysylltiad lled agos rhwng y ddwy gyfran hyn. **Gweddied. A oes neb yn esmwyth arno?** *Yn siriol, yn llon.* **Caned salmau.** Gweddi ydyw prif bwnc y gyfran sydd oddi yma i'r diwedd, ond fod yr awdwr yn ol ei arfer (i. 22, iv. 7, 8), yn rhoi canu salmau i mewn er mwyn gwneud yr addysg a'r cyferbyniad â'r adnod o'r blaen yn gyflawn.

Y mae'n syn fod esboniad mor ragorol ag un Huther yn gwadu fod

adfyd? gweddïed. A oes neb yn esmwyth arno? caned

unrhyw gysylltiad rhwng adn. 12 a 13. Gweddi ydyw'r wir feddyginiaeth i ysbryd blinderog, nid grwgnach, ac nid tyngu; ac yn wir gellir ychwanegu, mai addoli, yn y naill ffurf neu y llall, canu neu weddïo, ydyw'r wir oruchafiaeth ar y demtasiwn i dyngu. Dyna ydyw tyngu, addoli wedi ei droi o chwith, teimlad cyffrous yn gyrru'r dyn i apelio at rywbeth grymusach nag ef ei hun, a galw hynny, neu hwnnw, yn dyst i ategu dilysrwydd y teimlad, i ddangos ei fod ef yn teimlo o ddifrif, ac yn teimlo'n gryf; a chan mai addoliad gau ydyw tyngu—gwyrdroad ydyw ar yr anian i geisio help un uwch na ni—mae pob llw, fel eu gilydd, yn bechadurus; llwon yn enw'r Goruchaf, am eu bod yn rhoi addoliad gau iddo yn lle gwir addoliad, a phob llwon eraill, am eu bod yn gwneuthur rhywbeth yn wrthrych addoliad yn ei le ef. Y mae dyn, wrth dyngu, yn gwneuthur y peth y twng iddo yn wrthrych ei addoliad; a dyna ystyr y broffwydoliaeth, 'I mi y plyga pob glin, y twng pob tafod' (Es. xlv. 23). Dyma, felly, un rheswm paham y mae tyngu i bethau heb law Duw yn ddrwg; ond nid hwn yw rheswm yr ysgrythyr a ddyfynwyd uchod chwaith. Eithr yno nid yw tyngu yn enw'r diafol, na thyngu yn enw duwiau gau, mewn golwg o gwbl, namyn tyngu ar bethau a ddewisir yn llwon yn lle enw'r Arglwydd; a'r ddadl yn erbyn eu harfer hwy felly yw, eu bod oll yn rhy gysegredig, yn perthyn yn rhy agos i Dduw, i'w cymeryd yn ofer. Gorseddfa Duw ydyw'r nefoedd. Troedfainc ei draed ydyw'r ddaear. Dinas y Brenin Mawr yw Jerusalem. Ac nid oes gan ddyn hawl ar ei ben, nis gall wneuthur un blewyn yn wyn neu yn ddu. Ond y mae a fynno'r ystyriaeth fod tyngu'n fath o addoli â hyn oll; a dyna'r cysylltiad sydd rhwng y ddwy adnod hyn. Mynegwch deimladau cryfion, nid trwy lwon, ond trwy weddi a mawl.

Yn awr, y mae dau fath o deimladau cryfion, rhai llawen a rhai trist, a dau fath o dyngu anystyriol yn ateb iddynt. 'Tyn ym mhell oddi wrthyf wagedd a chelwydd; na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth, portha fi a'm digonedd o fara: rhag i mi ymlenwi, a'th wadu di, a dywedyd, Pwy yw yr Arglwydd? a rhag i mi fyned yn dlawd, a lladrata, a chymeryd enw fy Nuw yn ofer.' Dyna'r ddau dyngu, tyngu o ddiystyrwch, mewn llawnder, a chablu yng ngwyneb siomiant ac adfyd. Ni ddylai na llwyddiant na drygfyd ein gyrru ni i'r tir yna. 'A oes neb mewn adfyd, gweddïed. A oes neb yn esmwyth arno, caned salmau.' Eir ym mlaen yn union i ddysgu am effeithiolrwydd gweddi; ond yma boddlonir ar ddywedyd fod gweddi, ac o ran hynny addoli ym mhob gwedd arno, ynddo'i hunan, yn foddion gras. Y mae'n iechyd ynddo'i hun, ar wahan i'w ganlyniadau. Dylai fod naws ysbryd gweddi ar bob teimlad cryf; a'r ffordd i feithrin gwefus bur yw gofalu fod ein holl deimladau at Dduw a dynion yn rhai y gallem eu datgan ger bron Duw, cofio nad oes bosibl i ni siarad gair byth yn ei wrthgefn ef.

Mi gymerais yn ganiataol yn y sylwadau hyn mai tyngu rhyfygus, anystyriol, ydyw'r tyngu a olygir yma, ac hefyd yn y bregeth ar y mynydd: tyngu mewn siarad cyffredin. 'Bydded eich ymadrodd chwi, Ie, ie, a nag e, nag e:' eich ymadrodd chwi, eich dull cyffredin chwi o ddweud eich meddwl. Nid oes a wnelo'r cyngor hwn yn uniongyrchol â'r cwestiwn o dyngu mewn llys barn. Yr oedd hwnnw yn

14 psalmau. A oes neb yn eich plith yn glaf? galwed atto
henuriaid yr eglwys; a gweddïant hwy drosto, gan ei eneinio

---

gwestiwn a gwahaniaeth barn arno'r pryd hynny, fel y mae yn awr. Ymddengys fod sect yr Esseniaid wedi cael cennad Herod i beidio cymeryd y llw arferol o ffyddlondeb iddo ef (Mayor). A phe buasai Iago'n dewis rhoddi rhyw gyfarwyddiadau ar y pwnc, buasai yn hawdd iddo wneud hynny mewn geiriau pendant a phlaen; eithr nid am hynny y mae yn son, ond am dyngu fel arwydd o aniddigrwydd ffyrnig ac anystyriaeth. Dolen gydiol yw'r ddwy adnod yma rhwng y gyfran ar amynedd a'r gyfran ar weddi; a phrin y doe llwon addolgar, ar achlysuron pwysig, i mewn yn daclus yn y cysylltiad yna.

Eto y mae'n gryn demtasiwn myned ar ol yr esbonwyr i drafod y cwestiwn hwnnw. Amlwg yw, beth bynnag, nad yw pob llwon i'w gwahardd, gan fod yr Iesu ei hun yn fynych, fynych, yn dechreu brawddeg ag 'Amen,' ac yn ol Efengyl Ioan yn dyblu'r 'Amen.' 'Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.' Beth yw hynny ond math o lw? Dywed Awstin ar adn. 11, mai y prif reswm dros beidio tyngu oedd y perygl o dyngu anudon, ac mai y ffordd ddiogelaf yw peidio tyngu o gwbl, nid yn gymaint am fod tyngu ynddo ei hunan yn ddrwg (Mayor). Ond un peth ydyw dywedyd fod llwon yn gyfreithlawn, peth arall fyddai dywedyd eu bod yn fuddiol i'r diben y bwriedir iddynt ei gyrraedd mewn llysoedd barn. Yr amcan yno ydyw cael y gwir; ac y mae yn bur amheus a ydyw hynny'n debycach o gael ei gyrraedd trwy lw. Mi dybiaf fod yr Escob Stubbs yn dweud calon y gwir ar y pen hwnnw, nad yw llw yn rhwymo dynion drwg, ac nad oes mo'i eisieu i rwymo dynion da.

14-16.—*Effeithiolrwydd gweddi.*

Heb law fod gweddi yn fendithfawr ynddi ei hun, y mae ei ffrwyth hi yn werthfawr iawn. 'Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn' ydyw diareb yr adran hon; a chystudd corff ydyw un engraifft a nodir i ddangos fod gweddi mewn adfyd nid yn unig yn esmwythyd i deimlad y dioddefydd, ond hefyd yn ymwared o'r blinder.

14. **A oes neb yn eich plith yn glaf, galwed ato henuriaid yr eglwys.** Prif swyddogion eglwysig yr oes apostolaidd, yr un rhai a'r esgobion. Esgobion y gelwir henuriaid Ephesus; oblegid dyna'r gair a gyfieithir 'golygwyr' yn Actau xx. 28. Ymddengys y gellid galw apostol yn henuriad, gan y geilw Pedr ei hun felly yn 1 Pedr v. 1. Sonir am yr esgobion a'r diaconiaid yn y llythyr at y Philippiaid, a'r cyntaf at Timotheus, ac am henuriaid neu esgobion yn yr Epistol at Titus. Ar ol crybwyll rhai o gymwysderau henuriaid, ychwanegir, 'Canys rhaid i esgob fod yn ddiargyhoedd . . .' (Titus i. 5-9). Dywed y Dr. Dale mai mewn eglwysi lle byddai yr elfen Iuddewig yn gryfaf yr arferid y teitl 'henaduriaid,' a'r teitl 'esgobion' lle byddai'r lliaws yn genedl-ddynion. 'Galwed ato henuriaid yr eglwys,' fel rhai'n cynrychioli'r eglwys i gyd.

**A gweddiant hwy drosto.** 'Am ei fod ef,' ebai Bengel, 'yn wan o gorff, neu yn wan o ffydd, i weddïo drosto'i hunan;' ac o ran hynny aml y dwg gwendid corff dipyn o gwmwl ar brofiad ysbrydol dyn, rhag tynned

ef âg olew yn enw yr Arglwydd: A gweddi y ffydd a iachâ 15
y claf, a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fynu; ac os bydd wedi

---

y cysylltiad rhwng corff ac enaid. *Gweddiant hwy uwch ei ben ef* ydyw y cyfieithiad Saesneg, a'r goreu o bosibl yn y fan yma. Paham uwch ei ben ef? Pa raid ymweled âg ef i weddïo drosto? Onid atebid yr un diben trwy weddïo drosto yn eu cartrefi, neu ei gofio yng ngweddïau cyhoeddus y gynulleidfa? Dyma ateb Calfin: 'Wedi dyfod i wyddfod y claf ni a luniwn ein gweddïau dan deimladau dyfnach.'

Gan ei eneinio ef ag olew yn enw'r Arglwydd. *Ac eliant ef âg olew yn enw yr Arglwydd*' (William Salesbury). Yr hanes cyntaf sydd gennym am elïo'r cleifion wrth eu hiachau'n wyrthiol ydyw gwaith yr apostolion yn gwneud hynny ar eu taith gyntaf (Marc vi. 13), a hynny, mae'n ymddangos, heb gyfarwyddyd pendant yr Iachawdwr; a digon tebyg i'r ddefod hon, fel llawer un arall yn yr eglwys, gael ei sefydlu, nid trwy ddyfeisio peth newydd, ond trwy roi ystyr newydd i hen arfer. Beth oedd bedydd ond rhoddi ystyr newydd a sanctaidd i'r golchi seremoniol a atebai gynifer o ddibenion yng nghrefydd yr Iuddew? A pheth yw yr olew wrth iachau trwy wyrth, ond gwneud defnydd arbennig ac ysbrydol o beth a arferasid er ys talm, mewn afiechyd, er cysur a meddyginiaeth i'r claf? Gwel Es. i. 6; Luc x. 34. Ond fel y sylwa Mr. Richard Hughes ar Marc vi. 13, 'defnyddiai yr apostolion feddyginiaeth gyffredin, a chyrhaeddent effaith anghyffredin.' Gwrthdrodd yr Eglwys Babaidd y ddefod hon yn sacrament yr eneiniad diweddaf, gan mai pan byddys yn sicr fod y claf yn marw y bydd hi'n eneinio âg olew, lle gwnai yr apostolion er mwyn ei iachau.

15. A gweddi y ffydd a iacha y claf, a'r Arglwydd (*yr Arglwydd Iesu* yn y ddwy adnod yma) a'i cyfyd ef i fyny. Yr Arglwydd, nid yr olew, pa un bynnag ai fel arwydd ai fel meddyginiaeth. Y mae plaid o Gristnogion efengylaidd wedi codi'n ddiweddar sy'n cyfrif y dylai fod y ddawn yma gan yr eglwys eto, ac mai diffyg ffydd yw yr unig reswm na buasai hi; a diameu eu bod yn iawn cyn belled a hyn, nad yw cyflawni gwyrthiau yn llai posibl yn awr na chynt. Eu cyfeiliornad hwy ydyw meddwl fod cyflawni gwyrthiau i fod yn beth cyffredin o hyd, tra mai pethau ar gyfer ffydd wan ydyw gwyrthiau, yn ol dysgeidiaeth yr Iachawdwr ei hun, pethau ar gyfer cywair anaddfed ar yr eglwys ac ar y credadyn ar ei ben ei hunan. 'Er nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd' (Ioan x. 38). Ni a wyddom na byddai hyd-yn-oed yr apostolion yn iachau nac yn cael eu hiachau trwy wyrth pan y mynnent. 'Am y peth hwn mi atolygais i'r Arglwydd deirgwaith ar fod iddo ymadael â mi. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Digon i ti fy ngras i.' Gwel 2 Cor. xii. 7-9. 'Trophimus,' ebai Paul, mewn lle arall, 'a adewais yn Miletus yn glaf. Y mae'n anawdd i ni feddwl na weddïasai yr apostol drosto. Gŵr ydoedd Paul a wnelai holl gylch ei fywyd yn fater gweddi; ac eto er dyfned ei gydymdeimlad, ac er maint ei ffydd, fe adawodd Trophimus yn Miletus yn glaf. Yr oedd y doniau gwyrthiol y pryd hwnnw dan lywodraeth fanwl yr Ysbryd Glân; ac y maent felly eto. Perthyn y maent, gan mwyaf, fel y mae diwinyddion wedi arfer sylwi, i ddechreuad goruchwyliaeth—dechreu goruchwyliaeth Moses, dechreu goruchwyliaeth y

16 gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo. Cyffeswch *eich*
camweddau bawb i'ch gilydd, a gweddïwch dros eich gilydd,

---

proffwydi yn amser Elias ac Eliseus, a dechreu goruchwyliaeth yr efengyl—a darfod yn raddol fel y mae crefydd yn addfedu i fwy o ysbrydolrwydd. Fe fydd pethau go debyg i wyrthiau eto weithiau, lle mae'r efengyl yn torri tir newydd, megis yn hanes yr hen Fethodistiaid yng Nghymru, ac ar y meusydd cenhadol heddyw. Dywedir gan ddynion pwyllog fod ym Mryniau Cassia yn yr oes hon beth yr un fath yn union a bwrw allan gythreuliaid. Ac nid oes eisiau gwadu gwyrthiau y rhai a iachant y cleifion trwy ffydd yn Bethshan, a lleoedd tebyg, na gwadu gwyrthiau'n brodyr y Pabyddion yn Nhreffynnon. Mater o dystiolaeth yw eu credu neu eu gwrthod, er y ceir rhai o hyd o dueddfryd sy'n eu gwneuthur yn barotach nag eraill i'w credu hwy. Ond profi y mae'r gwyrthiau fod crefydd heddyw, ym mysg y rhai sydd yn wrthrychau ac yn berchennogion y ddawn wyrthiol, mewn ystâd isel a phlentynaidd iawn. Rhaid ei bod hi felly, cyn y buasai'r Arglwydd yn ymostwng i'w trin hwy â theganau. Nid yw hyn chwaith ddim yn gwneuthur hanes yr oes apostolaidd yn llai ei dyddordeb i ni, mwy nag y mae profiad dyn yn blentyn yn peidio a bod yn ddyddorol wedi iddo gyrraedd oedran gŵr. Fe all eu hastudio o'r pellter yn well, a gweled ystyr mewn rhai o honynt na welid ganddo ar y pryd.

Ac os bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo. Dadleua Huther dros gyfieithu'n wahanol, *Hyd yn oed os bydd wedi* . . .; ond darllena'r adnod yn llyfnach o'i chyfieithu yn y dull cyffredin. Felly y gwna'r Testament Diwygiedig, a lliaws yr esbonwyr; ac fe geir yr ystyr a ddyry Huther yn ei phwyslais, er nad yn ei geiriau hi. Pechodau oedd yn achos yr afiechyd a feddylir yn bennodol. Cymh. Mat. ix. 2. 'Ha fab, cymer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau,' lle mae pob tebyg mai y pechodau a barasent y parlys oedd gan yr Iesu yn neilltuol mewn golwg.

16. Cyffeswch eich camweddau. *Eich pechodau*, yn ol y darlleniad goreu. Bawb i'ch gilydd. Er mwyn cael rhan yng ngweddïau eu gilydd. Cyngor cyffredinol yw hwn, a hynny mewn dwy ffordd. Y mae'n gyffredinol gyd â golwg ar bechodau, nid pechodau o'r dosbarth neilltuol a nodwyd yn yr adnod o'r blaen yn unig. Y mae'n gyffredinol hefyd gyd â golwg ar y brodyr. Nid gwaith yr henuriaid yn unig ydyw gwrandaw cwyn pechadur edifeiriol, ei gyfarwyddo at orsedd gras a gweddïo drosto; ac un ffurf arno ydyw'r seiat. Y mae'n waith y saint i gyd hefyd. Camgymeriad Eglwys Rhufain yn hyn, fel llawer peth arall, yw tybied mai yn ei swyddogion yn unig y gall yr eglwys weithredu yn gyfreithlawn.

A gweddiwch dros eich gilydd, fel y'ch iachaer. Nid oes yma ddim i benderfynnu'n sicr pa un ai iachad corff ai iachad enaid a feddylir. Yr un gair yn union a ddywedir wrth y wraig o bechadures (Luc vii. 50), ac wrth y dall a iachasid yn Jericho (Luc xviii. 42); eithr 'Dy ffydd a'th gadwodd' yw'r cyfieithiad yn y naill ysgrythyr, 'Dy ffydd a'th iachaodd' yn y llall. Felly yn Actau iv., yr un gair a gyfieithir 'iachau' yn adn. 9, a 'chadw' yn adn. 12. Nid y gair hwnnw a arferir

**fel y'ch iachâer. Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn.**

---

yma; ond y mae hwn yntau i'w gael yn y ddwy ystyr, y lythyrennol a'r ffigyrol. 'Trwy gleisiau yr hwn yr iachawyd chwi' (1 Pedr ii. 24). 'Fel na thröer y cloff allan o'r ffordd, ond yr iachaer efe yn hytrach' (Heb. xii. 13). Yma, nid oes dim dwywaith nad iachad corff a feddylir yn yr adnod o'r blaen; ond yn hon y mae llawer i'w ddweud dros ddilyn Huther, a rhoi ystyr ffigyrol i'r gair. Yn un peth, y mae'r awdwr wedi gadael mater y claf i ddweud gair ar weddi'n gyffredinol. A chyd â hynny, at iachawdwriaeth enaid y dychwelir yn 19, 20, ar ol nodi esiampl Elias, yr hyn a brawf mai iechyd enaid sydd amlycaf ar feddwl Iago erbyn hyn.

Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn. *Deisyfiad y cyfiawn.* Am ystyr y gair a gyfieithir 'taer' y mae cryn ddadl. '*Effectual fervent prayer*' ydyw'r Saesneg. Y mae cystrawen y frawddeg yn hwnnw yr un fath a'r Cymraeg. Yr oedd cyfieithiad Dr. Morgan yn nes i'r hyn a gymeradwyir gan esbonwyr yn awr. 'Llawer a ddichon gweddi'r cyfiawn, os ffrwythlon fydd hi.' 'Llawer a ddichon gweddi'r cyfiawn yn ei gwaith' yw'r Cyfieithiad Diwygiedig. 'Nerthol weithredu' y cyfieithir y ferf yn Gal. ii. 8; a 'nerthol weithrediad' y cyfieithir y sylweddair cyfatebol yn Phil. iii. 21; 'Grymus weithrediad' yn Eph. iii. 7. Hwyrach y gwnelai hwn yma'r tro fel arall eiriad. 'Llawer a ddichon gweddi'r cyfiawn, pan fo hi ar waith.'

Paham gweddi'r cyfiawn? Am fod ei fywyd ef yn cydweithio â'i weddi. Pa fodd y gall dyn nesu at Dduw am y pethau sydd arno ef eu heisiau iddo'i hun a'i gyfeillion, ac yntau yn byw ymhell oddi wrtho? Nid balchder, gan hynny, yn Hezekiah frenin ydoedd ei waith yn galw sylw'r Arglwydd at ei rodiad cyson. Nid gofyn y mae i Dduw ddyfod yn gymorth iddo yn ei gyfyngder, ond gofyn am help yr hwn yr oedd efe o hyd yn byw iddo, ac yn cymdeithasu âg ef. 'Atolwg cofia yr awr hon i mi rodio ger dy fron di mewn gwirionedd, ac â chalon berffaith, a gwneuthur yr hyn oedd dda yn dy olwg di' (Es. xxxviii. 3). Pan y mae'r weddi'n weddi am fendithion ysbrydol—yn eiriolaeth am faddeu yr holl anwiredd, a iachau yr holl lesgedd—y mae rheswm cryfach fyth dros roi pwyslais ar yr ystyriaeth mai deisyfiad y cyfiawn a ddichon lawer. Dyna ydyw hwnnw, y mae ei fywyd ef yn cydfyn'd â'i weddi. Nid rhoddi gofal eneidiau'i frodyr ar Dduw er mwyn cael llonydd ganddynt ei hunan y mae; na, cydweithio â'r Arglwydd am eu hiachawdwriaeth hwy. Gwel ar iv. 1-10. Cyn y bydd ein gweddi ni'n effeithiol iawn, rhaid i'n bywyd ni fod yn yr un cywair a hi yn un peth; ac hefyd rhaid i'n holl fywyd fod at wasanaeth y weddi i ateb yr un dibenion a hithau. Yn lle hynny, mor fynych y byddwn ni yn gadael ein deisyfiadau wrth orseddfainc y gras, heb fod yn barod o gwbl i ddwyn y draul y buasai eu hateb yn ei gosod arnom ni; rhwymo beichiau trymion i'w gosod ar ysgwyddau'n Gwaredwr, a ninnau ein hunain heb eu cyffwrdd âg un o'n bysedd.

17-18.—*Esiampl Elias.*

Ni wyddom ni mo sail Iago dros ddweud mai yn ateb i weddi Elias y ceuwyd y nefoedd, er fod awgrym cynnil yn yr hanes (1 Bren. xviii.

17 Elïas oedd ddyn yn rhaid iddo ddïoddef fel ninnau, ac mewn
gweddi efe a weddïodd na byddai wlaw: ac ni bu gwlaw ar
18 y ddaear dair blynedd a chwe mis. Ac efe a weddïodd

---

42-46), mai yn ateb i'w weddi ef y daeth gwlaw drachefn. Hwyrach mai fel awgrym fod Elias yn gweddïo am gerydd i ddwyn Israel yn ol at Dduw y deallai Iago broffwydoliaeth 1 Bren. xvii. 1. 'Fel mai byw Arglwydd Dduw Israel, yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron, ni bydd y blynyddoedd hyn na gwlith na gwlaw, ond yn ol fy ngair i.' Oni ellid ystyried gair Elias yn y fan yna yn fath o weddi, megis y dywedir i Josua lefaru wrth yr Arglwydd; ac eto wrth yr haul a'r lleuad y lleferyd y geiriau o'i eiddo a gofnodir (Jos. x. 12-14)? Neu a oedd gan Iago sail mewn traddodiad i'r hyn a ddywed efe am weddi Elias? Cymh. Ecclus. xlviii. 1-15.

17. **Elias oedd ddyn yn rhaid iddo ddioddef fel ninnau.** Cyfieithiad Dr. Morgan yw'r goreu o ddigon yn y fan yma. *Elias oedd ddyn o'r un sut a ninnau*, o'r un nwydau, agored i'r un gwendidau. At anian y dyn ac nid at ei amgylchiadau y mae'r gair yn cyfeirio.

**Ac mewn gweddi efe a weddiodd.** Dull Hebreig o gryfhau y dywediad, fel 'gan farw y byddi farw' (Gen. ii. 17). Ac efe a daer weddïodd. **Na byddai wlaw: ac ni bu gwlaw ar y ddaear dair blynedd a chwe mis.** Fel hyn y mae'r cyfrif yn Luc iv. 25, wrth adrodd geiriau'n Hiachawdwr yn Nazareth, tra y dywedir yn 1 Bren. xviii. 1, mai yn y drydedd flwyddyn y daeth gair yr Arglwydd at y proffwyd, gyd â golwg ar roddi gwlaw drachefn. Myn rhai gysoni trwy dybied na ddechreuodd y sychdwr ddim hyd yr adeg yr aeth Elias i Sarephtah, eraill, trwy gyfrif y chwe mis arferol o sychdwr o flaen y tair blynedd o sychdwr gwyrthiol, ac eraill fyth, trwy dybied fod y syniad Iuddewig am dri a hanner, hanner saith felly, fel rhifedi amserau drygfyd (Dan. xii. 7), wedi ystumio yr hanes traddodiadol oddi wrth yr hyn ydoedd yn yr Ysgrythyr. Yr ail dyb yw yr oreu gan ysgrifenydd y sylwadau hyn, er nad oes yr un o honynt yn rhyw foddhaol iawn.

18. **Ac efe a weddiodd drachefn; a'r nef a roddes wlaw; a'r ddaear a ddug ei ffrwyth.** Ni ddaeth y gwlaw ddim nes i Elias weddïo, er ei fod wedi ei addaw cyn y cyfarfod mawr ar ben Carmel. Trwy weddïau ei bobl y dwg yr Arglwydd ei addewidion i ben.

19-20.—*Prif destyn gweddi.*

Yn ei sylwadau rhagarweiniol ni gawsom Iago'n dechreu gyd â phrofedigaethau, yn cyffwrdd yn ddigwyddiadol â gweddi, ac â phechod, yna'n dibennu'r rhan honno gyd âg ailenedigaeth pechadur o wir ewyllys Duw. Yma hefyd, yn ei ddiweddglo i'w lythyr, y mae yn cyffwrdd â'r un pynciau mewn rhan, er nad yn yr un drefn—profedigaethau, amynedd, gweddi, maddeuant pechodau, a throedigaeth pechadur—yr hyn a brawf, cyn belled ag y gellir profi peth felly oddi wrth lythyr mor fyr, fod y pethau yna yn hoff bynciau ei weinidogaeth.

Pa fodd y daw 'Troi pechadur' i mewn yn y cysylltiad hwn sydd ym-

drachefn; a'r nef a roddes wlaw, a'r ddaear a ddug ei ffrwyth.
*Fy* mrodyr, od aeth neb o honoch ar gyfeiliorn oddi wrth y 19
gwirionedd, a throi o ryw un ef; Gwybydded, y bydd i'r 20

---

holiad arall. Myn amryw esbonwyr parchus iawn nad oes yma gysylltiad o gwbl; ac argreffir y ddwy adnod olaf, mewn amryw Destamenti, yn baragraff bychan ar ei ben ei hun. Eithr onid peth dieithr iawn yw dechreu pwnc newydd mor ddirybudd, a'i adael mor ebrwydd? Os gellir cael cysylltiad naturiol, llai o gam â'r awdwr, yn ddiameu, fyddai ei olygu'n gysylltiad bwriadol hefyd; a Stier, esboniwr na welais ei gystal ar y ddwy adnod yma, sy'n rhoi y cysylltiad goreu. Awgrymwyd eisoes (15-16) mai pwysicach testyn gweddi nag iechyd ydyw maddeuant pechodau; ac yn yr esiampl a godwyd o'r Hen Destament o effeithiau gweddi, amcan y proffwyd oedd troi'r genedl wrthgiliedig at yr Arglwydd. Yn awr y mae ceisio amcan cyffelyb i'r eiddo yntau, mewn cylch llai—y mae troi pechadur a chuddio pechodau, yn destyn gweddi sydd o fewn cyrraedd pawb. Fel prif destyn gweddi, a phrif amcan gwaith y credadyn, y daw iachawdwriaeth pechadur i mewn, yn ddiweddglo naturiol ddigon i'r gyfran hon ac i'r llythyr.

19. Fy mrodyr. Un ffordd sydd gan Iago o roi pwyslais, a galw sylw neillduol. Od aeth neb o honoch ar gyfeiliorn oddi wrth y gwirionedd. Trwy wrthgilio mewn buchedd oddi wrth ysbryd ac athrawiaeth yr efengyl, 'Cyfeiliorni ei ffordd.' A throi o rywun ef. Gallasai rhywun godi dadl yn erbyn cymhwyso esiampl Elias atom ni. Os dyn fel ninnau ydoedd Elias, yr oedd ei amcan yn nodedig o uchel, troi cenedl gyfan at yr Arglwydd; pa ryfedd, felly, i'w weddïau ef gael eu gwrandaw? Ond na ddigalonnwch, ebai Iago, 'Od aeth neb o honoch,' rhywun, pe na bai ond un, ar gyfeiliorn, a throi o rywun ef, y mae eich gweddi dros yr un hwnnw cystal ei hamcan a gweddi Elias, ac yn fwy llwyddiannus o bosibl, canys er i Elias gael buddugoliaeth fawr, prin iawn a fu ffrwyth ei fuddugoliaeth. Er cydnabod o'r bobl mai yr Arglwydd oedd Dduw, nis gwyddom i unrhyw nifer hynod o honynt fyned ar ei ol ef; a chawn Elias ei hun yn cwynfan yn y bennod nesaf, 'Nid ydwyf fi well na'm tadau' (1 Bren. xix. 4).

20. Gwybydded. *Gwybyddwch*, yn ol rhai ysgrifau pur hen. Y bydd i'r hwn a drodd bechadur oddi wrth gyfeiliorni ei ffordd. Sef y cyfeiliorni sy'n perthyn i'w ffordd, neu yn ei nodweddu hi. Yn yr achos meddiannol y mae'r gair 'ffordd.'

Gadw enaid rhag angau. Yr hyn a briodolir yn i. 21 i'r gair, fe'i priodolir yma i'r neb sy'n foddion yn llaw Duw i ddwyn y gair a'r pechadur i afael â'u gilydd. Yr un ffunud y mae Paul yn galw'r rhai y bu efe'n foddion achubiaeth iddynt yn blant iddo. Gwel 1 Cor. iv. 14-15; Gal. iv. 19; Philemon 10.

A chuddio lliaws o bechodau. Pechodau y neb a drowd oddi wrth gyfeiliorni ei ffordd. Mewn rhyw wedd y mae'r hwn a drodd bechadur yn gyfrannog â Mab Duw yn y gogoniant o guddio'i feiau. 'Y gogoniant a roddaist i mi a roddais iddynt hwy' (Ioan xvii. 22).

hwn a drodd bechadur oddi wrth gyfeiliorni ei ffordd, gadw enaid rhag angau, a chuddio lliaws o bechodau.

---

Geiriau Llyfr y Diarhebion (x. 12) sydd gan Iago yn ei feddwl, yn gystal a Phedr (1 Pedr iv. 8); ond tra y defnyddir hwy gan Pedr yn eu hystyr gyntaf, o guddio pechodau dyn gan ei gyd-ddyn, arferir hwynt yma i gyfleu ystyr uwch a chyflawnach. Cuddio'r pechodau yr ydys yn yr adnod hon, nid trwy eu maddeu i'n gilydd, ond trwy ddwyn ein gilydd i undeb â'r hwn a fedr eu maddeu hwy mewn ystyr uwch nag y medrwn ni. Y mae y dull yma o ddefnyddio ysgrythyrau yr Hen Destament yn y Newydd yn rhybudd i ni na ddylem gasglu bob amser, oddi wrth y defnydd a wneir o'r broffwydoliaeth yn y Testament Newydd, mai dyna'i hunig gyflawniad hi, nac ychwaith mai dyna'r ystyr oedd iddi gan y rhai oedd wedi ei dweud a'i gwrandaw hi gyntaf.

## DYSGEIDIAETH EPISTOL IAGO AR WEDDI.

GAN mai yn y paragraff hwn y mae'r darn helaethaf ar weddi, mewn epistol a chymaint, yn ol yr herwydd, ar weddi ynddo, byddai hwn yn burion cyfle i ddodi yng nghyd rai o brif bynciau diwinyddiaeth gweddi, cyn belled ag y mae hi i'w chasglu o'r llythyr yma. Gallwn wneud hynny bellach heb fanwl nodi pob dyfyniad, a chofio mai yn i. 5-8, iv. 1-10, a v. 12-20, yr ymdrinir â'r mater yn uniongyrchol a than ei enw.

Gellir crynhoi dysgeidiaeth Iago ar weddi o dan dri phen: (I.) Lle gweddi ym mhrofiad y credadyn. (II.) Ysbryd gweddi. (III.) Testynau gweddi.

### (I.)—*Lle gweddi ym mhrofiad y credadyn.*

Dygir gweddi i mewn, yn nechreu a diwedd yr epistol, fel un o weithrediadau'r gras o amynedd; ac ym mhennod iv. hefyd cyferbynnir gweddi âg ymladd a rhyfela, fel nad yw hi ond gweithrediad amynedd yno hefyd. Cyferbynnir amynedd, ar y naill law, âg eiddigedd ac ysbryd grwgnach, ac, ar y llaw arall, â'r meddwl dau-ddyglyg; ac ni chydfydd ysbryd gweddi â'r un o'r ddau. Na feddylied y gŵr dau-ddyblyg ei feddwl y derbyn efe ddim gan yr Arglwydd. Un peth y mae nesau at Dduw yn ei olygu ac yn ei gynnwys yw, 'Purwch eich calonnau, chwi a'r meddwl dau-ddyblyg.' Hefyd nid oes dim gweddïo lle mae ysbryd ymrafaelio. 'Ymladd a rhyfela yr ydych, ond nid ydych yn cael, am nad ydych yn gofyn.' 'Na rwgnechwch yn erbyn eich gilydd, frodyr. . . . A oes neb yn eich plith mewn adfyd, gweddïed.'

Y mae amynedd y Testament Newydd yn golygu mwy na'r gallu i ymdaro yng ngwyneb y brofedigaeth yma a'r brofodigaeth acw, er ei fod yn cynnwys hynny. Y mae yn cymeryd i mewn dymer wastadol ein bywyd ni. Y mae y nesaf peth i fod yn enw ar holl fywyd y credadyn. 'Teyrnas ac amynedd Iesu Grist' (Dat. i. 9). Trwy amynedd y mae rhedeg yr yrfa. 'Ymgynnal' ydyw'r gair a rydd Principal Edwards.* Felly, yn ol y syniad ysgrythyrol am weddi, nid gweithred achlysurol ydyw hi yn unig, nac yn bennaf, namyn gweithrediad cyson, gwedd ar fywyd y dyn duwiol, nid peth y gall efe ei wneud neu fod heb ei wneud. Nis gellir meddwl am ddyn duwiol heb fod gweddi, chwedl Gurnal, yn anadl ei fywyd. 'Minnau a arferaf weddi' (Salm cix. 4.) 'Rhaid gweddïo yn wastad, ac heb ddiffygio' (Luc xviii. 1). 'Gweddïwch yn ddibaid' (1 Thes. v. 17). Am yr act o weddïo, act mewn bywyd o weddi ydyw hi; ac ychydig o werth na grym sydd ynddi ar wahan i hyn. 'Llawer a ddichon deisyfiad y cyfiawn, pan fo hwnnw ar waith.' Cyngrair gwastadol rhwng dyn â Duw ydyw gweddi; a dylai pob deisyfiad neilltuol godi'n deg o fywyd o gymdeithas â Duw, neu fod yn ddechreuad cymdeithas berffeithiach. O ganlyniad, y mae dyfal bara yn perthyn o angenrheidrwydd i weddi, a dyfal bara, nid yn yr ystyr o fynych adrodd y deisyfiad yn unig, ond yn yr ystyr eangach o fyw mewn ymdrech i gydweithio â Duw er dwyn y deisyfiad i ben.

Dyma un rhagor mawr rhwng y syniad Beiblaidd am weddi a phob syniad arall. Y mae gweddi, yn yr ysgrythyrau sanctaidd, yn fater o ysbryd; mater o gyfaredd ydyw hi yn y crefyddau eraill; a thry ei llwydd

* Gwel Edwards ar Heb. xii. 1.

iant ar ddweud y geiriau priodol yn yr ystum briodol. Offeryn ydyw gweddi, yn llaw'r pagan, i ddwyn ei fwriadau ef i ben, ar wahan i bob cwestiwn yng nghylch ei gydweithrediad ef â'i dduw er mwyn hynny. Nerth Duw mewn atebiad i weddi, yn ol y Beibl, nid dawn ydyw, y gellir ei fenthyca heddyw a'i wadu y fory, a mynd ar ei ofyn drachefn drennydd. Dieithrwch i'w gwmni ef, cyfeillach y byd, ydyw un o'r achosion pennaf o'n gwaith ni'n gofyn ar gam; a dyna'r paham y gesyd Iago'r ddau beth mor agos at eu gilydd.

Mater o raddau ydyw nesau at Dduw; ac y mae i bob gradd o hono ei gwobr. Fe wrandewir gweddi'r anuwiol; ond nid cymaint a ddichon honno â gweddi'r cyfiawn.

Yn awr os ydyw gweddi'n fwy na deisyfiad achlysurol, os gweddi ddibaid ydyw hi i fod, y mae iddi fawr werth ar wahan i unrhyw atebiad pennodol a roddo'r Arglwydd iddi. Gweddïo ydyw'r ffordd i ddwyn cyfyngderau bywyd, heb ymgaledu, ac heb ddigalonni. 'Na rwgnechwch . . . Gweddïwch.' 'Na thyngwch . . . A oes neb yn eich plith mewn adfyd, gweddïed.' Fe fydd y weddi ei hunan, heb son am yr ateb, yn foddion gras; y mae'r ateb, i raddau, ynddi hi ei hun.

A chadw mewn cof ynte, fod gweddi yn rhagdybied, neu yn argoeli, rhyw agwedd gyson ar fywyd ac ysbryd dyn, yr ymholiad a gyfyd nesaf yw, pa beth ydyw'r agwedd honno?

(II.)—*Ysbryd gweddi.*

Nid oes braidd ymadrodd yn amlach ar ein gwefusau, yn ein hareithiau ac yn ein deisyfiadau cyhoeddus, nag 'ysbryd gweddi;' ac eto nid oes yr un ag y mae ein syniadau am ei gynnwys yn fwy anelwig. Y brif elfen, ond odid, yn y syniad poblogaidd ydyw hwyl gweddïo; ac fe ddaw hwyl gweddïo, nid oes dim dwywaith, lle y bo ysbryd gweddi. Ar yr un pryd da fyddai i ni gofio mai peth yn cydfynd âg ysbryd gweddïo yw yr hwyl yna, nid hanfod y peth ei hunan. Y mae hwnnw'n golygu cymhwysder ysbryd i agoshau at Dduw, nid teilyngdod, y mae'n wir, ym mhob ystyr i'r gair, ac eto teilyngdod hefyd, mewn un ystyr, teilyngdod yn yr ystyr a rown ni i'r gair pan soniwn ni am fwyta ac yfed yn deilwng, neu yn anheilwng, wrth fwrdd y cymun. Gall fod beiau lawer, a diffygion lawer, ac eto'r galon yn union gyd â Duw. Beth ynte, yn ol Epistol Iago, ydyw'r cymhwysder ysbryd hwn i fyned at Dduw mewn gweddi?

(1) Anhepgor cyntaf hwn, fel pob ffurf ar y bywyd ysbrydol, ydyw ffydd. 'Profiad ein ffydd' ni sydd yn gweithredu amynedd: a ffydd sy'n gwneud holl waith yr amynedd yma, a gweddi ym mysg pethau eraill, yn effeithiol. 'Gofyned mewn ffydd, heb ameu dim.' Ffydd yng nghymeriad Duw fel rhoddwr yw yr hyn y dyry Iago fwyaf o bwyslais arno. Y mae efe'n rhoi i bawb, yn rhoi'n ddiamodol, heb haeddiant o du'r gweddïwr i ennill y rhodd, ac yn rhoi heb ddannod.

Cynnil ydyw Iago ar berthynas ffydd â'r Arglwydd Iesu Grist, ond ei fod yn dywedyd yn bendant ac yn eglur mai ffydd ein Harglwydd ni Iesu Grist yw hi, ac mai ei enw ef sy'n gwneud gweddi'r ffydd yn llwyddiannus. 'A oes neb yn eich plith yn glaf, galwed ato henuriaid yr eglwys, a gweddïant hwy drosto, gan ei eneinio ef âg olew yn enw yr Arglwydd;

a gweddi y ffydd a iacha y claf; a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny.' Eithr nid yw Iago'n agor y rhan yma o'r pwnc, fel y gwneir yn yr epistolau eraill, ac yn Efengyl Ioan. Yn hyn eto y mae'r epistol hwn yn gydwedd â'i le yn y Testament Newydd, ar drothwy'r oruchwyliaeth a'r datguddiad yma.

Paham y mae eisieu ffydd yn bennodol wrth weddïo? Am mai trwy ffydd y mae'r dyn yn ei osod ei hunan mewn agwedd y gall Duw ei fendithio. Perchen ffydd yn unig sy'n sylweddoli'r fendith cyn ei dyfod. Ffydd yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio. A chwaneg, nid oes dim modd derbyn bendithion ysbrydol, yn yr amser presennol, hebddi hi. Maddeuant, nerth yr Ysbryd Glân, cyfarwyddyd o'r nef, dyma bethau nad ydynt yn bod ond i ffydd. 'Beth bynnag oll a geisioch wrth weddïo, credwch y derbyniwch,' *credwch eich bod wedi ei dderbyn*, 'ac fe fydd i chwi' (Marc xi. 24). Ac i berchen ffydd yn unig y try trugareddau tymhorol Duw yn fendithion ysbrydol. Ffydd sydd yn gweled ei anweledig bethau ef a'i dduwdod yn y pethau a wnaed.

(2) Nod arall ar ysbryd gweddi ydyw ymostwng i ewyllys Duw. Dyna un peth a olygir wrth 'Ofyn ar gam,' gofyn heb ymostyngiad llwyr i'w ewyllys ef. Ac ni all Cristion, pan fo ei ysbryd yn ei le, wneuthur dim heb ddywedyd yn ddistaw, neu yn hyglyw, 'Os yr Arglwydd a'i myn.' Y mae pob gofyn ym mysg dynion yn tybied gadael y cwestiwn o roddi yn gwbl yn llaw'r neb y ceisir y ffafr ganddo. Dyma fachgen yn yr ysgol yn gofyn i'w athraw am ddarn diwrnod o wyl, a'r athraw yn ei nacau, ac yntau yn aros gartref wedyn yn groes i benderfyniad ei athraw; nid oedd y gofyn hwnnw ddim yn ofyn gonest. Y mae gofyn peth fel mater o ras yn tybied ein bod yn barod i gymeryd ein nacau; ac y mae 'Gwneler dy wyllys' yn ddeisyfiad sy'n llechu yn ysbryd pob gwir weddi, pa un bynnag a yngenir y geiriau ai peidio.

A chyd â hynny, y mae ymostwng i ewyllys Duw yn cynnwys ymostwng i les dynion. Ni chawn ni ddim ceisio'n lles ein hunain ar draws lles ein cyd-ddynion. Y mae gofyn, a blas eiddigedd arno, yn ofyn ar gam; ond y mae hyn yn ein dwyn ni i ymyl y mater nesaf.

(3) Nod arall ar ysbryd gweddi ydyw amcan teilwng. Y mae hunan yn llychwino gweddi fel pob peth arall. 'Gofyn yr ydych, ac nid ydych yn derbyn, o herwydd eich bod yn gofyn ar gam, fel y galloch eu treulio ar eich meluschwantau.' Nid yw hyfrydwch noeth, er iddo fod yn y cylch mwyaf dyrchafedig—hyfrydwch y pregethwr neu yr athraw ysgol Sul yn ei waith—ddim i fod yn amcan gweddi, er ei fwyn ei hunan, mwy nag y mae i fod yn amcan bywyd. Gall pleser fod yn ail ddiben, yn ddiben yn y fargen, ys dywed yr athronydd, ond nid yn ddiben eithaf, nac yn ddiben ynddo'i hunan. Gallwn brofi ein hunain yng-ngwyneb yr ymofyniad yma, Pa beth a wnaem ni â'r fendith pe delai hi i'n rhan?

Llefaru y mae llawer megis pe bai derfyn i'r pethau y cawn ni weddïo am danynt. Nid i'r rheiny y mae'r terfyn. I amcan y weddi y mae hynny o derfyn sydd. Pob peth cyson â'r ystyriaeth nad ydym yn eiddo i ni'n hunain, ni a gawn ei wneuthur yn fater gweddi. 'Nid chwi a'm dewisasoch i; ond myfi a'ch dewisais chwi, ac a'ch ordeiniais chwi, fel yr elech ac y dygech ffrwyth, ac yr arhosai eich ffrwyth, megis pa beth

bynnag a ofynnoch gan y Tad yn fy enw i, y rhoddo efe i chwi' (Ioan xv. 16). *Pa beth bynnag*, felly, a fydd arnoch chwi eisieu at ddwyn ffrwyth. Dyna gaiff y gangen gan y pren; a dyna gaiff y pren gan natur o'i gwmpas, pob peth sydd arno'i eisieu at dyfu a ffrwytho. Yr un ddeddf sydd i ninnau rhyngom â Duw. Ni gawn gánddo ef bob peth a allwn ni droi'n gynnydd ac yn ffrwyth, nid bendithion ysbrydol yn unig, ond pob bendith a allwn ni droi yn ogoniant iddo ef—bendithion y nefoedd oddi uchod, a bendithion y dyfnder yn gorwedd isod, hyd derfyn bryniau tragwyddoldeb, ac, i goroni'r cwbl, ewyllys da Preswylydd y Berth. Pob peth, tymhorol ac ysbrydol, a wasanaetho amcan mawr ein bywyd, gogoneddu Duw, fe all hwnnw fod yn fater gweddi. Gofynnwn i ni'n hunain ym mlaen llaw, pe caem ni yr hyn a geisiwn, a allem ni ofyn bendith arno; oblegid pob peth y gallem ni ofyn i Dduw ei fendithio, ni a allwn ofyn i Dduw ei roi.

Ni chynnwys hyn chwaith na ddylai yr anuwiol weddïo. Fe ddylai ar pob cyfrif. Nid rhaid fod y dyn eisoes wedi gwneud dim i gyrraedd ei amcan cyn dechreu gweddïo; ond rhaid iddo fod yn awyddus i wneud pob peth a ddisgyn arno ef at gyrraedd nod ei ddeisyfiadau, a rhaid i'w nod fod yn un teilwng. Felly, er y dylai'r anuwiol weddïo, y mae'n amheus a all efe fod yn wir weddïwr am amser maith, a phara yn anuwiol. Peth ydyw gweddi, fel credu ac edifarhau, y dylai pob dyn ei wneuthur, yr anuwiol yn gystal a'r duwiol, ond peth nas gall dyn ei wneud yn iawn, yn enw ac yn ysbryd Crist, heb fod gwawr y bywyd newydd yn dechreu torri ar yr enaid.

(4) Hwyrach y dylid crybwyll, a dim ond crybwyll, un nodwedd yn ychwaneg ar ysbryd gweddi—Taerineb. Cael ei hawgrymu, yn hytrach na'i dysgu'n eglur, y mae hon yn Epistol Iago; eto y mae'r awgrymiadau'n bur ddi-gamsynio. Diffyg taerni ydyw un bai mawr ar y gŵr dau-ddyblyg ei feddwl. Ac yn esiampl fawr Elias y mae taerni yn dra amlwg. 'Mewn gweddi efe a weddïodd.' *Gan weddïo efe a weddïodd. Efe a daer weddïodd. Efe a weddïodd o ddifrif* na byddai wlaw; ac ni bu gwlaw ar y ddaear dair blynedd a chwe mis.

(III.)—*Testynau gweddi.*

Awgrymwyd eisoes nad oes dim terfyn i gylch y pethau a all fod yn destynau gweddi, os bydd ysbryd y gweddïwr yn ei le, a'i ddeisyfiadau yn gydwedd â chwrs ei fywyd, neu ynte'n ddechreuad bywyd newydd. Y mae y llythyr byr yma yn hynod gyfoethog o esiamplau i ddangos hyn. Mor eang ac amrywiol ydyw'r cylch, fel na chyfeiliornem wrth ddywedyd fod pob peth gwerth gan ddyn da ei ddymuno, i'r un graddau, yn werth ei droi'n destyn gweddi. Y deisyfiadau hunanol, nad ydynt yn addas faterion gweddi, nid ydynt chwaith yn deilwng ddymuniadau o gwbl, ac o'r tu arall, cyn belled ag y mae'r awydd am ddifyrrwch a boddhad yn awydd cyfreithlawn yng ngoleuni Ysbryd Crist, cyn belled, felly, ag y mae osgoi poen, a chyrraedd mwynhad, yn help ac nid yn rhwystr i ddymuniad uwch, cyn belled a hynny y mae iddo le yn ein gweddïau ni. Y mae ias go gref o'r awydd yna yn y weddi am ymwared mewn adfyd, beth bynnag fyddo'r adfyd, tlodi, gorthrwm, erlidiau, cystuddiau o bob math; a chyhyd ag y gofynnom ni am ymwared mewn llwyr ymostyngiad i ewyllys yr Arglwydd, gan ddygymod â phob peth na fynno efe ei symud, fel disgyblaeth angenrheidiol i'n ffydd, y mae'r deisyfiad yn un teg.

Y mae yma ddau gwlwm o ddeisyfiadau, a'r ddau yn lled debyg i'w gilydd. Rhai drosom ein hunain, a rhai dros eraill. Y prif weddïau drosom ein hunain yw—gweddi am ddoethineb, am faddeuant, am nerth i ymddaro mewn adfyd, ac am ymwared o adfyd; a'r prif weddïau dros ein gilydd yw, gweddi am iachad, am iachawdwriaeth, ac am faddeuant. Y mae gweddi am faddeuant ar y ddwy restr; oblegid dyna'r weddi a ddarlunir yn iv. 7-10. 'Ymddarostyngwch i Dduw. Gwrthwynebwch ddiafol, ac efe a ffy oddi wrthych. Neshewch at Dduw, ac efe a nesa atoch chwi. Ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch; troer eich chwerthin chwi yn alar, a'ch llawenydd yn dristwch. Ymddarostyngwch ger bron yr Arglwydd; ac efe a'ch dyrchafa chwi.'

Yn awr y mae o'r bendithion hyn rai y mae'n well gan Dduw i ni eu gofyn na'u gilydd. Fe ryngodd Solomon fodd yr Arglwydd trwy ofyn doethineb yn anad dim arall. Yn lle gofyn dyddiau lawer, neu olud, neu einioes ei elynion,* a gallwn ninnau ryngu ei fodd ef trwy ddeisyf y doniau goreu. Doethineb ydyw y pennaf peth i ninnau, nid calon ddeallus yn unig, ond cymeriad addfed drwyddo. Y mae hon fel cariad gan Paul ac Ioan, neu fel y dduwiol anian gan Pedr, yn cynnwys pob gras a dawn, y ddoethineb sydd oddi uchod. Ac fel mai doethineb yw y peth pennaf i ni ei geisio i ni ein hunain, felly iachawdwriaeth gyfan Duw yng Nghrist ydyw'r peth mwyaf a allwn ni ei ofyn byth dros ein cymydogion. 'Cyffeswch eich camweddau bawb i'ch gilydd; a gweddïwch dros eich gilydd, fel y'ch iachaer. Od aeth neb o honoch ar gyfeiliorn oddi wrth y gwirionedd, a throi o ryw un ef, gwybydded y bydd i'r hwn a drodd bechadur oddi wrth gyfeiliorni ei ffordd, gadw enaid rhag angau, a chuddio lliaws o bechodau.'

Eto y mae gwerth neilltuol yn perthyn i'r athrawiaeth am weddi fel moddion i wrthsefyll anhawsderau tymhorol. Fel ffordd i etifeddu'r bendithion mwyaf y mae hi bwysicaf, bid siwr; ond y mae addysg na cheir mo honi'n uniongyrchol wrth dderbyn y bendithion hynny yn atebiad i weddi, i'w chael wrth dderbyn rhai îs. Fe ddengys y bendithion îs, pan ddelo'r rheiny yn atebion i'n gweddïau, mai atebion ydynt, yn ystyr fanyla'r gair. Nid nad yw yr ateb i weddi am fendithion teyrnas nefoedd yr un mor wirioneddol; eto nid yw cyn hawdded ei weled. Pan ofynnodd Iesu Grist i'r ysgrifenyddion, wrth iachau y claf o'r parlys, 'Pa un hawsaf, ai dywedyd, Maddeuwyd i ti dy bechodau, ai dywedyd, Cyfod a rhodia?'† ni fynnai awgrymu nad maddeu pechodau oedd yr anhawdda'i wneud; ond er hynny yr oedd 'Maddeuwyd i ti dy bechodau,' y peth hawddaf erioed ei ddweud, haws lawer na dywedyd, 'Cyfod, a rhodia,' gan y gellid rhoi'r dweud diweddaf yna, yn ddi oedi, ar ei brawf, a gweled a oedd grym ynddo. Felly am atebion i'n gweddïau ni yn gyffredin, y maent o'r golwg, ac i fesur allan o gyrraedd ffydd wan. Y mae y weddi a'r ateb, hefyd . . ., yn rhyw redeg i'w gilydd. Y mae cael ffydd i ddal i weddïo yn rhan o'r ateb. Ond wrth gael ein gwrandaw mewn deisyfiadau am fendithion cyffredin gweledig, yr ydym yn gweled fod Duw yn gwneud rhywbeth mewn atebiad i'n gweddi ni na allai grym ein hewyllys ni mo'i gwmpasu.

* 1 Bren. iii. 5-13. † Mat. ix. 5.

## DYFODIAD YR ARGLWYDD.

FE gydnebydd pawb sy'n weddol gyfarwydd a'r Ysgrythyr Lân fod mwy nag un ystyr i'r ymadrodd 'Dyfodiad yr Arglwydd' yn y Testament Newydd; ond cawn amrywiaeth anorffen ym marn pobl ar y cwestiwn pa un o'r ystyron hyn y mae'r gwahanol broffwydoliaethau yn cyfeirio ati. Ni byddai'n fuddiol, pe byddai'n bosibl mewn cyn lleied a hyn o gwmpas, ceisio olrhain yr amrywiol farnau. Yn wir braidd y cawn ni grybwyll y gwahanol syniadau ond fel esiamplau i ddangos gwahanol ddulliau o esbonio.

Yr ystyr a roes y disgyblion cyntaf, a'r apostolion hefyd am dymor, i addewid ei ddyfodiad ef, oedd ei ddyfodiad diweddaf, ei ddyfodiad gweledig i farn y dydd mawr; ac yr oeddynt yn rhwym felly o ddisgwyl diwedd y byd yn eu hoes eu hunain. Dywed yr Arglwydd ei hun yn groew fod y broffwydoliaeth i'w chyflawni yn y genhedlaeth honno. 'Mab y dyn a ddaw yng ngogoniant ei Dad gyda'i angylion; ac yna y rhydd efe i bawb yn ol ei weithred.' 'Yn wir y dywedaf wrthych, y mae rhai o'r sawl sy'n sefyll yma a'r ni phrofant angau hyd oni welont Fab y dyn yn dyfod yn ei frenhiniaeth' (Mat. xvi. 27-28). 'Pan weloch hyn oll, gwybyddwch ei fod yn agos, wrth y drysau. Yn wir meddaf i chwi, nid â y genhedlaeth hon heibio, hyd oni wneler hyn oll' (Mat. xxiv. 33, 34).

Y peth tebycaf yw mai y meddwl am y dyfodiad hwn, oedd bellach wrth y drws, ydoedd meddwl Iago, dyfodiad yr Arglwydd i ddibennu'r oruchwyliaeth hon (Iago v. 7-9). Felly hefyd y cawn ni Paul, yn ei epistolau cynaraf, yn arfer iaith sydd, o'i deall wrth lewyrch synwyr cyffredin, yn tybied y cai efe ei hun, yn ol pob tebyg, fyw i weled yr ail ddyfodiad. 'Ninnau y rhai byw, y rhai a adewir hyd ddyfodiad yr Arglwydd. . . .' ydyw ei air (1 Thes. iv. 13-18; 1 Cor. xv. 51, 52). Yn yr epistol at y Philippiaid hefyd, epistol diweddarach, fe ddywed fod yr Arglwydd yn agos (Phil. iv. 5). Eto prin y mae'r ail ddyfodiad, fel pwnc o amser, mor agos ag yn yr epistolau o'r blaen. Y mae tôn yr apostol wrth siarad am dano wedi newid. Disgwyl y mae erbyn hyn y bydd efe ei hun farw cyn y dyfodiad. 'Canys y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeu-tu, gan fod gennyf chwant i'm datod, ac i fod gyd â Christ, canys llawer iawn gwell ydyw. Eithr aros yn y cnawd sydd fwy angenrheidiol o'ch plegid chwi' (Phil. i 23-24). Yn ei ail lythyr at Timotheus, un diweddarach fyth, sonia am amser ei ymddatodiad (2 Tim. iv. 6-9).* Gwelir yr un cyfnewidiad yn null Pedr o son am yr addewid fawr. Cymeryd yn ganiataol yr ydwyf mai Pedr bia'r ail epistol sy'n dwyn ei enw, yn gystal a'r cyntaf. A bwrw fod hynny'n iawn, y mae yr apostol wedi newid ei farn am amser yr ail ddyfodiad yn drwyadl at ddiwedd ei oes. 'Diwedd pob peth a nesaodd,' eb efe, yn ei epistol cyntaf (1 Pedr iv. 7), gair nad oes dim camgymeryd i fod ar ei ystyr; ac eto yn ei ail lythyr y mae fel pe'n cydnabod fod hynny'n gamsynyd, ac yn addef y gallai dydd yr Arglwydd fod yn hwy lawer heb ddyfod nag y meddyliasai efe a'i gyd-ddisgyblion (2 Pedr iii. 3-15). Y mae yn rhagweled y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain, ac yn dywedyd, 'Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y tadau y mae pob peth yn parhau fel yr oeddynt

* Gwel ysgrif o waith Dr. Hughes, yn y *Traethodydd*, ar yr Apostol Paul, ei Brofiad a'i Athrawiaeth, Tachwedd, 1892, tud. 456, 457).

o ddechreuad y creadigaeth.' Ond nid yw Pedr yng ngwyneb hyn am roddi ei obaith i fyny. 'Y mae un dydd gyd â'r Arglwydd megis mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd megis un dydd. Nid ydyw yr Arglwydd yn oedi ei addewid, fel y mae rhai yn cyfrif oed; ond hirymarhous yw efe tuag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch.' 'Ein hamseryddiaeth ni,' fel pe dywedasai, 'sydd ar fai. Y mae ein ffydd yn yr addewid yn sefyll yn ddi-gryn.'

Ni a welwn fod yr apostolion, cyn diwedd eu hoes hwy, wedi dechreu llacio'u gafael ar y syniad fod addewid yr ail ddyfodiad yn un i'w dihysbyddu mewn un genhedlaeth. Os oedd proffwydi yr Hen Destament yn chwilio 'Pa bryd, neu pa ryw amser, yr oedd ysbryd Crist yr hwn oedd ynddynt, yn ei hysbysu,' a ydyw'n syn fod adeg diwedd y byd yn bwnc heb ei lwyr benderfynu gan broffwydi'r Newydd? yn enwedig pan gofiom ni fod yr Iesu wedi eu rhybuddio hwy mai peth i'w ddadrys oddi wrth bob cwestiwn o amser ydoedd ei ddyfodiad ef. 'Pan ofynnodd y Phariseaid iddo pa bryd y deuai teyrnas Dduw, efe a atebodd iddynt, ac a ddywedodd, Ni ddaw teyrnas Dduw wrth ddisgwyl,' *Wrth edrych* felly. Nid peth ydyw hi y gellir ei wylied a'i nodi mewn amser, mwy nag mewn lle. 'Ac ni ddywedant, Wele yma, neu wele acw; canys wele, teyrnas Dduw, o'ch mewn chwi y mae. Ac efe a ddywedodd wrth y disgyblion, Y dyddiau a ddaw, pan chwennychoch weled un o ddyddiau Mab y dyn, ac nis gwelwch' (Luc xvii. 20-22). Yna fe ganlyn, oddi yna i ddiwedd y bennod, ddarluniadau y byddwn ni bob amser yn eu cysylltu â diwedd y byd; ac eto os cadwn ni'n dŷn at eiriau'r Gwaredwr ei hun, un o ddyddiau Mab y dyn sy'n cael ei ddarlunio, un o honynt, nid yr unig un, ac nid y diweddaf o angenrheidrwydd chwaith. Eto i gyd, ar derfyn yr ymddiddan, y mae'r disgyblion yn dal i ofyn cwestiwn nad ydoedd ronyn callach na chwestiwn y Phariseaid, cwestiwn o'r un rhywogaeth yn union, 'Pa le, Arglwydd?' 'Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa le bynnag y byddo'r corff, yno yr ymgasgl yr eryrod.' Mewn geiriau eraill, 'Y mae teyrnas Dduw, lle bynnag y byddo'i defnyddiau hi i'w cael.' Mater o ansawdd ysbryd ydyw ei dyfodiad hi, nid mater o amser a lle (xvii. 37).

Hyd yn oed wedi'r adgyfodiad, pryd yr oedd y disgyblion yn dechreu agor eu llygaid ar ysbrydolrwydd ei deyrnas ef, y maent yn dal i ofyn peth mor ddaearol a hynny, 'Arglwydd, ai y pryd hwn y rhoddi drachefn y frenhiniaeth i Israel?' Y mae dau gyfeiliornad wrth wraidd eu cwestiwn. Un yn unig y mae'r Iesu yn ei atebiad yn ymwneud âg ef. Gadawai, y mae'n debyg, i'w profiad hwy o waith yr Ysbryd Glân, eu hargyhoeddi bob yn ychydig, mai nid brenhiniaeth a fyddai hi'n hollol yn yr ystyr a dybient hwy. Am y cyfeiliornad arall, cysylltu brenhiniaeth y Messiah âg amser, y mae'r Arglwydd yn cyfarfod hwnnw yn y fan. 'Efe a ddywedodd wrthynt, Ni pherthyn i chwi wybod yr amseroedd na'r prydiau, y rhai a osododd y Tad yn ei feddiant ei hun' (Actau i. 7, 8).

Ond, fel y dywedai Dr. Bruce, fe ddeallodd Cristnogion yr oes honno fod y byd i bara'n hwy nag y tybiasid unwaith, wrth ei weled yn para; ac fe ddeallwyd, o fesur ychydig, fod rhaid rhoddi rhyw ystyr i ddyfodiad yr Arglwydd heb law'r dyfodiad diweddaf. Nid oedd modd iddynt beidio gweled fod dinystr y ddinas sanctaidd yn gyflawniad clir o rai pethau ym mhroffwydoliaeth eu Harglwydd. (Gwel Mat. xxiv., Luc xxi., a Marc xiii). Daeth geiriau Iago i ben yn llythyrennol am y farn ar yr Iuddewon cyf-

oethog. Ar y cyfoethogion y disgynodd y farn drymaf. Yr oedd y rheiny, heb law bod yn wrthrychau llid y gelyn, yn wrthrychau eiddigedd eu brodyr. Y mae un o'r esbonwyr yn dyfynnu Josephus, yr hwn a ddywed fod llawer yn cael eu dal pan yn ffoi at y Rhufeiniaid, ac eraill am yr amheuid eu bod ar fedr ffoi. Byddai eu cydgenedl yn gymharol dyner o rai ag ôl dioddef arnynt, gan gymeryd yn ganiataol eu bod hwy'n dlodion iawn; ond am y rhai nad oedd eu cnawd wedi curio yng nghyfyngder y gwarchae, tybid yn sicr fod gan y rheiny olud yn rhywle; a rhoddid hwy dan arteithiau er mwyn eu gorfodi i ddweud pa le'r oedd eu cuddfa.* Yn awr, nid yw fod Iago'n tybied y byddai dydd barn Jerusalem a'r Iuddewon yn ddiwedd byd hefyd yn tynnu dim oddi wrth werth a phwysigrwydd ei broffwydoliaeth.

Nid yw yr awydd am wybod yr amseroedd a'r prydiau wedi marw eto yn eglwys Dduw; ac nid yw ei hen gymhar, y syniad am frenhiniaeth ddaearol, wedi llwyr farw chwaith. Yr oedd yn y *Christian World Pulpit* (Awst 24, 1898), bregeth o waith Mr. Moffat Logan, yn ymosod ar un gainc o'r ysgol honno sydd yn disgwyl yr adgyfodiad cyntaf o flaen y mil blynyddoedd, am eu bod yn rhy chwannog i gyfrif amserau; ond y mae y pregethwr ei hunan, ar bwnc arall, cyn belled a hwythau oddi wrth ddull y Testament Newydd o drin y mater. Y mae yntau'n dal y bydd y mil blynyddoedd yn fil blynyddoedd o frenhiniaeth weledig ar y ddaear. A chwaneg, y mae'n dal, fel Gilfillan, debyg, fod hynny'n bwysig iawn at gael y byd yma i'w le. O leiaf, fe ddywed gymaint a hyn mewn geiriau plaen: 'Bydd ail ddyfodiad gweledig yr Iesu yn foddion troedigaeth i'r Iuddewon.' Ni fyddai hynny, ynddo'i hunan, ddim yn ddywediad anysgrythyrol, a bwrw ein bod wedi profi y bydd y teyrnasiad gweledig hwn; ond y rheswm a ddyry Mr. Logan dros ddweud fel yna sy'n anawdd ei gysoni âg ysbryd iachus ei weinidogaeth ef—fod yr Iuddewon wedi gwrthod yr Iesu yn ei ddyfodiad cyntaf, am fod y dyfodiad hwnnw'n rhy ddi-rwysg ganddynt, ac y cânt hwy yn yr ail ddyfodiad y peth y siomwyd hwynt o hono yn y cyntaf, gogoniant gweledig i'w hargyhoeddi mai efe yw y Crist. Yn awr, a oes genym ni hawl i ddisgwyl, yn ol hynny a wyddom ni am ddewis ddull Duw o argyhoeddi dynion, y bydd iddo ef roddi rhesymau materol dros gredu yn Nghrist, i rai nad oedd y rhesymau ysbrydol yn ddigon ganddynt? Onid dwyn Israel i edrych ar yr hwn a wanasant yw yr addewid? Ac onid yr awgrym yw, mai edrych ar ei glwyfau ef fydd eu hiachawdwriaeth hwy? Ië, oddi ar y groes y bydd Iesu Grist yn teyrnasu hyd yn oed yn y mil blynyddoedd. Yr un fydd yr amod y pryd hwnnw iddo dynnu pawb ato'i hun, 'Minnau, os dyrchefir fi oddi ar y ddaear.' Pa un bynnag ai gweledig ai anweledig fydd ei ddyfodiad ef yn y mil blynyddoedd, croes fydd ei orsedd, oddi ar honno y bydd efe'n tynnu ato'i hun: ysbrydol fydd ei ddylanwad, ac nid dim o'i ddeutu fydd yn ennill cymeradwyaeth iddo.

Tuedd y rhai o honom sy'n methu cydweld â'r bobl y mae'r ail ddyfodiad yn brif bwnc ganddynt yn ein dyddiau ni, ydyw rhoi llai na'i lle i'r addewid ei hunan. Lle mawr iawn sydd iddi, fe ŵyr pawb, yn y Testament Newydd; a'n perygl ni, ond odid, ydyw gwneud rhyw un defnydd cyfyng o honi, a myn'd yn lled farw iddi yn ei hystyr eang, ffrwythlawn, a bendithfawr. Yr y'm ninnau'n cydnabod, bid siwr, mai diwedd yr oruchwyliaeth yma

* Gwel Plummer ar Iago, tud. 285.

fydd cyflawniad eithaf yr addewid; ond gorfod teimlo'r ydym y dylai fod rhyw ddefnydd nes atom i'w wneud o'r addewid na'i chadw hi'n broffwydoliaeth am ddydd y farn, a dim ond hynny. Y mae'r anian a bair i ni deimlo fel yna yn un eithaf cywir. Y mae'r addewid am ddyfodiad Mab y dyn i gael lle nes at ein profiad beunyddiol ni na diwedd y byd, a'r ffordd y byddwn ni, lawer o honom, yn cael lle felly iddi hi, ydyw cyfrif mai at ein marw ni'n hunain y mae un o gyfeiriadau'r addewid. Onid dyna'r defnydd a wnawn ni amlaf o'r adnod y mae pawb yn ei medru? 'Am hynny byddwch chwithau barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn' (Mat. xxiv. 44). Y mae hwn hefyd yn ddefnydd cyfreithlawn i'w wneuthur o'r adnod. Y mae marw'r credadyn yn ddyfodiad Mab y dyn. Mor wir ag y daw efe ryw ddiwrnod i gymeryd ei eglwys gyfan ato'i hun,

'I nol ei ddyweddi anwyl ddiddig,'

fe ddaw hefyd, bob tro y bydd dyn duwiol yn marw, i nol hwnnw adref. Ac eto nid oes dim son am farw yn yr adnod, nac yn unlle'n agos ati. Nid yn rhybudd, na wyddom ni ddim pa bryd y byddwn ni farw, y bwriadwyd hi o gwbl, wrth ei dweud y tro cyntaf.

Y mae dyn yn teimlo o hyd mai deongliad priod ar addewid y dyfodiad ydyw pob un o'r rhai a grybwyllwyd, a rhai eraill y gallesid eu crybwyll. Oni allwn ni gael rhyw esboniad lletach arni hi, mwy cydweddol âg ysbryd proffwydoliaeth?

Triniwyd y pwnc yma'n oleu a theg iawn gan y Dr. Marcus Dodds mewn darlith a draddodwyd ganddo i'r Ysgol Haf yn Mansfield, Rhydychen, Gorffennaf, 1892. Gan na chyhoeddwyd y darlithiau, nis gallaf bellach ddweud i ba raddau y mae Dr. Dodds yn gyfrifol am y golygiadau a gynygir yma. Hyn a wn i, mai ei sylwadau ef a'm rhoes i ar y ffordd i astudio'r athrawiaeth.

Dywedai mai yr adnod fawr ar y pwnc yw Mat. xxvi. 64: 'Ar ol hyn y gwelwch Fab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw y gallu, ac yn dyfod ar gymylau y nef.' Cytunir mai 'O hyn allan' a ddylsai fod, yn lle 'Ar ol hyn.' Diau mai er mwyn gochel brawddeg anawdd ei hesbonio y darfu i'r cyfieithwyr Cymraeg a Saesneg osgoi cyfieithu'n llythyrennol. '*O hyn allan yn eistedd, ac o hyn allan yn dyfod.*' Y mae dyfodiad a theyrnas Iesu Grist, felly, yn cychwyn o ddyfnder eithaf ei ddarostyngiad ef, pan y mae'r llysoedd yn rhoddi eu dedfryd arno, pan y mae efe dan y gwawd a'r poeredd, y goron ddrain, a'r wisg borffor. O'r oriau tywyllion yna y mae efe ei hun yn dyddio'i ddyfodiad drachefn yn ei frenhiniaeth.

Fe allai y dywed rhywun fod y cymylau'n cyfeirio at ddiwedd y byd. Peidiwn a bod yn rhy sicr o hynny chwaith. Y mae hanes yr ymadrodd yn taro braidd fel arall. Yn Llyfr Daniel y cawn ni ef gyntaf (Dan. vii. 13) Gair arwyddluniol ydyw'r cymylau yno, tu hwnt i bob dadl; oblegid yr hyn a gyferbynnir â'r cymylau yn y weledigaeth ydyw'r môr. O'r môr y cododd y bwystfilod, wedi i'r pedwar gwynt ymryson arno. Arwyddlun ydyw'r môr o'r elfen afrywiog, derfysglyd, y cododd galluoedd anianol y byd o honi. Ac ar ol i ddydd y bwystfilod fyn'd heibio, 'Wele megis Mab y dyn yn dyfod gyda chymylau y nef.' Yn awr, os nad yw y môr i'w ddeall yn llythyrennol, paham y dylid deall y cymylau felly? Arwyddlun ydynt hwythau hefyd, arwyddlun o diriondeb a chymwynasgarwch brenhiniaeth Mab y dyn. A meddwl yr Iesu yw fod y frenhiniaeth honno'n

dechreu o'r adeg yr oedd efe'n siarad yn llys yr archoffeiriad. Felly rhaid i ni olygu'n gyffredinol ei fod ef yn dyfod o hyd.

Ond y mae ystyr hefyd yn yr hon y gellir dywedyd ei fod ef yn dyfod ym mhob amlygiad neilltuol o bresenoldeb ei Ysbryd, pa un bynnag ai mewn gras ai mewn barn. Ar y tir yma y gallwn ni gyfiawnhau gwaith yr eglwys drwy'r canrifoedd yn edrych ar ddinystr Jerusalem fel cyflawniad arbennig o broffwydoliaethau'r Iesu am ei ddyfodiad, 'Amser dy ymweliad' y galwodd efe'r dyfodiad hwnnw o'i eiddo (Luc xix. 44). Ond nid dinystr Jerusalem yn unig sydd i'w ystyried felly. Y mae pob ymweliad â chenedl am ei hanwiredd, i raddau, yr un fath. Y mae pob diwygiad yn eglwys Iesu Grist hefyd, yn enwedig, i'w alw'n ddyfodiad Mab y dyn. Llefarai yr Iesu yn eglur am ymweliadau ei Ysbryd fel ei ymweliadau ef ei hun. 'Nis gadawaf chwi'n amddifaid; mi a ddeuaf atoch chwi' (Ioan xiv. 18). Cyffelyb ydyw ei eiriau trwy'r Ysbryd at eglwysi Asia. Fe sieryd yno am ei farnedigaethau, am geryddon ei gariad, am ymgeledd ei ras. 'Yr wyf fi yn dyfod atat ti ar frys; ac mi a symudaf dy ganhwyllbren di allan o'i le, oni edifarhei di' (Dat. ii. 5). 'Yr wyf fi yn dyfod atat ti ar frys, ac a ryfelaf yn eu herbyn hwynt â chleddyf fy ngenau' (ii. 16). 'Os tydi gan hynny ni wyli, mi a ddeuaf arnat ti fel llew' (iii. 3). 'Wele, yr wyf yn dyfod ar frys; dal yr hyn sydd gennyt, fel na ddygo neb dy goron di' (iii. 11). 'Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws, ac yn curo: os clyw neb fy llais i, ac agoryd y drws, mi a ddeuaf i mewn ato ef, ac a swperaf gyd âg ef, ac yntau gyd â minnau' (iii. 20).

Gallai gwrthddadl godi, pa fodd i gysoni'r esboniad hwn â'r darluniau cyffrous a ddyry yr Arglwydd o'i ddyfodiad. Yn ateb i hynny, y mae esboniwr mor barchus ag Albert Barnes yn dweud, nad yw darlunio cyffroadau mawrion, tymhorol neu ysbrydol, fel diwedd y byd, ond iaith gynefin proffwydoliaeth. Desgrifir dymchweliad mân deyrnasoedd, a chwildroadau cymharol fychain, fel diwedd byd. Dyma, er engraifft, ran o faich Babilon, yr hwn a welodd Esaiah mab Amos. 'Wele ddydd yr Arglwydd yn dyfod, yn greulawn â digofaint a dicter llidiog, i osod y wlad yn ddiffeithwch; a'i phechaduriaid a ddifa efe allan o honi. Canys ser y nefoedd, a'u planedau, ni roddant eu llewyrch; yr haul a dywyllir yn ei godiad; a'r lloer ni oleua â'i llewyrch. A mi a ymwelaf â'r byd am ei ddrygioni, ac â'r anuwiolion am eu hanwiredd: a gwnaf i falchder y rhai rhyfygus beidio; gostyngaf hefyd uchder y rhai ofnadwy. Gwnaf ddyn yn werthfawrocach nag aur coeth; ïe, na chŷn o aur Ophir. Am hynny yr ysgydwaf y nefoedd, a'r ddaear a gryn o'i lle, yn nigofaint Arglwydd y lluoedd, ac yn nydd llid ei ddicter ef. A hi a fydd fel ewig wedi ei tharfu, ac fel dafad heb neb a'i coleddo.'* Ar fater tebyg y dywedir y geiriau hyn hefyd, gyd â chyfeiriad pennodol at y farn a ddelai ar Edom: 'Holl lu y nefoedd hefyd a ddatodir, a'r nefoedd a blygir fel llyfr; a'i holl lu a syrth, fel y syrthiai deilen o'r winwydden, ac fel ffigysen yn syrthio oddiar y pren.'† Ym mysg effeithiau tywalltiad yr Ysbryd yn Joel ii. 28-32 y mae cynhyrfiadau a ddarlunir dan gyffelybiaeth o'r un fath: 'Gwnaf ryfeddodau yn y nefoedd; ac yn y ddaear, gwaed, a thân, a cholofnau mwg. Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lleuad yn waed, o flaen dyfod mawr ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd.' Ac fe gytunai pawb fod Pedr yn esbonio'n gywir pan gyfrifai efe fod dydd y Pentecost yn cyf-

* Es. xiii. 9-14. † Es. xxxiv. 4.

iawni'r broffwydoliaeth. A chofio hyn oll, nid rhyfedd i'n Harglwydd gymeryd iaith gynefin y proffwydoliaethau am ddydd yr Arglwydd, a'u cymhwyso at ddydd Mab y dyn, heb fod ei lygad yn unig ar y dydd mawr diweddaf. 'A bydd arwyddion yn yr haul, a'r lleuad, a'r ser; ac ar y ddaear ing cenhedloedd, gan gyfyng-gynghor; a'r môr a'r tonnau'n rhuo; a dynion yn llewygu gan ofn, a disgwyl am y pethau sydd yn dyfod ar y ddaear: oblegid nerthoedd y nefoedd a ysgydwir. Ac yna y gwelant Fab y dyn yn dyfod mewn cwmwl, gyd â gallu a gogoniant mawr. A phan ddechreuo y pethau hyn ddyfod, edrychwch i fyny, a chodwch eich pennau; canys y mae eich ymwared yn nesâu' (Luc xxi. 25-28). Y mae yn ddigon posibl mai yn nydd y farn y caiff y broffwydoliaeth hon o eiddo'r Iesu, ac eraill o'i chyffelyb hi, eu cyflawniad eithaf; ond dehongliad priod arnynt fyddai eu cyfyngu i un cyflawniad yn unig, er i hwnnw fod y pwysicaf o'r cyflawniadau i gyd.

Y mae dyfodiad yr Arglwydd yn nes atom ni na diwedd yr oruchwyliaeth hon, yn nes atom na'n marw ni'n hunain. Yr ydym i fod ar ein disgwylfa o hyd. 'Am hynny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn:' nid parod i farw, na pharod erbyn y farn ddiweddaf yn unig, ond parod trwy wneuthur y gwaith y gadawodd ein Harglwydd ni yma i'w wneuthur, a pharod i'w alwadau newyddion ef pa bryd bynnag y delont; a'n lwynau wedi eu gwregysu, a'n lampau wedi eu goleu; a ninnau yn debyg i ddynion yn disgwyl eu harglwydd, pa bryd y dychwel o'r neithior; fel pan ddelo a churo, yr agorom iddo yn ebrwydd (Luc xii. 35-36). Ceidwad yn dyfod yw efe; a phobl barod ydyw ei saint i fod.

Rhydd yr esboniad eang yma ar yr ail ddyfodiad fodd i ni gysoni un peth sy'n ymddangos braidd yn ddyrys. Y mae y dyfodiad yn ddisymwth; ac eto nodir yr arwyddion a fydd i ddangos ei fod yn ymyl. Yr eglurhad yw, nad ydyw'r arwyddion hyn yn arwyddion ond i bobl sy'n disgwyl. Arwyddion ysbrydol ydynt, yn tybied rhyw gydnawsedd ysbryd yn y rhai a'u derbyniont. 'Ac efe a ddywedodd ddameg iddynt: Edrychwch ar y ffigysbren, a'r holl brennau; pan ddeiliant hwy weithian, chwi a welwch ac a wyddoch o honoch eich hun, fod yr haf yn agos' (Luc xxi. 29-30). Pa fodd y gwyddom ni hynny? Am fod y pren deiliog ei hunan yn ddarn o'r haf. Felly y gallwn ni wybod fod dyfodiad Mab y dyn ger llaw. Y mae blas ei bresenoldeb ar yr awel; ac fel y bydd y gawod wlaw, cyn ei dod, yn deffro arogl per y blodeu, y mae agosrwydd yr Iesu yn ireiddio ac yn bywhau eneidiau y rhai a'i carant ef.

Nid arwydd y gall llygad cnawd ei weled ydyw arwydd Mab y dyn yn y ffurfafen. Prin y gallwn ni dderbyn esboniad Goronwy Owen yn llythrennol, er ei brydferthed:

'Llen o'r ffurfafen a fydd,
Mal cynfas, mil a'i cenfydd;
Ac ar y llen wybrennog
E rydd Grist arwydd ei grog.'

Yn ffurfafen ysbrydol yr eglwys y bydd arwydd Mab y dyn. Nid trwy lun croes yn yr wybren weledig y danghosir ei bresenoldeb ef, namyn trwy ysbryd codi'r groes yng nghalonnau ei bobl.

Y mae graddau a natur y paratoad ar ei gyfer yn gweddnewid y dyfodiad ei hun, yn lliwio'r cwmwl y delo Mab y dyn ynddo yn wyn neu yn ddu.

Er mwyn gwneuthur tegwch â geiriau Iesu Grist yr ydym wedi gorfod rhoi dwy brif ystyr i addewid ei ddyfodiad ef, ystyr gyffredinol ac ystyr neilltuol. Mewn un wedd y mae efe'n dyfod o hyd; a chyd â hynny, pan y ceir amlygiadau arbennig o'i yspryd ef, y mae priodoldeb arbennig mewn dweud ei fod wedi dyfod. Na ryfeddwn ddim fod ffurf ei bresenoldeb yn anawdd ei ragweled, ac yn anawdd ei adnabod pan y daw. Felly yr oedd ei ddyfodiad cyntaf. Yr oedd rhy fach o rwysg o'i ddeutu gan lawer y pryd hwnnw; ac er fod arwyddion a rhyfeddodau yn ei ganlyn ef, yr oedd y rheiny yn ddiles i bawb nad oedd yn berchen ffydd.

---

D.S.—'Presenoldeb' a ddyry'r Cyfieithiad Diwygiedig ar ymyl y ddalen, ar gyfer 'Dyfodiad,' yn Mat. xxiv. 3; 2 Thes. ii. 1; Iago v. 7-8; 2 Pedr i. 16, iii. 4.

# EPISTOL CYFFREDINOL IAGO.

## CYFIEITHIAD.

IAGO, gwas Duw a'r Arglwydd Iesu Grist, at y deuddeg 1
llwyth sydd yn y wasgarfa, annerch.

Cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch 2
mewn amryw brofedigaethau, gan wybod fod profiad eich 3
ffydd chwi'n gweithio amynedd. Ond caffed amynedd ei 4
pherffaith waith, fel y byddoch berffaith a chyfan, heb ddim
diffyg. Ac od oes ar neb o honoch ddiffyg doethineb, 5
gofynned gan Dduw, yr hwn sy'n rhoddi'n rhad i bawb, ac
heb ddannod; a hi a roddir iddo ef. Eithr gofynned mewn 6
ffydd, heb ameu dim; canys yr hwn sydd yn ameu sydd
gyffelyb i dòn y môr, a yrrir gan y gwynt, ac a deflir. Canys 7
na feddylied y dyn hwnnw y derbyn efe ddim gan yr
Arglwydd, gŵr dau-ddyblyg ei feddwl, anwastad yn ei holl 8
ffyrdd.

Ymffrostied y brawd iselradd yn ei radd uchel, a'r cyfoethog 9
yn ei ddarostyngiad: canys fel blodeuyn y glaswelltyn y 10
diflanna efe. Canys cyfododd yr haul gyd â'r poethwynt, a 11
gwywodd y glaswelltyn; a'i flodeuyn a gwympodd; a thegwch
ei bryd ef a gollodd: felly hefyd y diflanna'r cyfoethog yn ei
rodfeydd. Gwyn ei fyd y gŵr sy'n goddef profedigaeth: 12
canys pan fyddo profedig, efe a dderbyn goron y bywyd, yr
hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant ef.

Na ddyweded neb, pan demtier ef, O waith Duw y'm temtir; 13
canys Duw nis gellir ei demtio â drygau; ac nid yw yntau
yn temtio neb. Canys yna y temtir pob un, pan y llusger ef 14
ymaith gan ei chwant ei hun, ac y'i llithier. Yna'r chwant 15
wedi ymddwyn a esgor ar bechod; a'r pechod, pan dyfo i'w
faint, a ddwg farwolaeth. Na chyfeiliornwch, fy mrodyr 16
anwyl: pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddi 17
uchod y mae, yn disgyn oddi wrth Dad y goleuadau, gyd â'r
hwn nid oes gyfnewidiad, na newid yn bwrw'i gysgod arno.

18 O'i wir ewyllys y parodd efe'n geni ni trwy air y gwirionedd,
fel y byddem ryw flaenffrwyth o'i greaduriaid ef.

19 Dyma a wyddoch chwi, fy mrodyr anwyl; ond bydded pob
20 dyn esgud i wrandaw, diog i lefaru, diog i ddigofaint; canys
21 digofaint gŵr ni chyflawna gyfiawnder Duw. O herwydd
paham rhowch heibio bob budreddi, a gorlif drygioni; ac
mewn addfwynder derbyniwch y gair a blennir ynoch, yr hwn
22 a ddichon achub eich eneidiau. A byddwch wneuthurwyr y
gair, ac nid gwrandawyr yn unig, gan eich twyllo eich hunain.
23 Oblegid os yw neb yn wrandawr y gair, ac heb fod yn
wneuthurwr, y mae hwn yn debyg i ŵr yn edrych ei wyneb-
24 pryd naturiol mewn drych; canys efe a'i hedrychodd ei hun,
ac a aeth ymaith; ac yn y man efe a anghofiodd pa fath
25 ydoedd. Ond y neb a edrycho'n graff i berffaith gyfraith
rhyddid, a phara felly, heb fod yn wrandawr anghofus, ond
gwneuthurwr gweithgar, hwn a fydd dedwydd yn ei waith.
26 Os yw neb yn tybied ei fod yn grefyddgar, heb ffrwyno'i
dafod, ond twyllo'i galon, ofer yw gwasanaeth crefyddol hwn.
27 Gwasanaeth crefyddol pur a dihalog ger bron ein Duw a'n Tad
yw hyn, ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu
hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddi wrth y byd.

2 Fy mrodyr, na fydded gennych ffydd ein Harglwydd ni
Iesu Grist, Arglwydd y gogoniant, gyd â derbyn wyneb.
2 Oblegid os daw i mewn i'ch synagog chwi ŵr aurfodrwyog,
mewn dillad gwychion, a dyfod hefyd un tlawd mewn dillad
3 budron, ac edrych o honoch ar yr hwn sydd yn gwisgo'r dillad
gwychion, a dywedyd wrtho, Eistedd di yma'n dda dy le,
a dywedyd wrth y tlawd, Saf dithau, neu Eistedd yna is
4 law fy ystol-droed i; onid aethoch chwi'n rhanedig ynoch
5 eich hunain, ac yn farnwyr drwg eich meddyliau? Gwran-
dewch, fy mrodyr anwyl: onid etholodd Duw dlodion y byd
yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas
6 a addawodd efe i'r rhai a'i carant ef? Chwithau a amharch-
asoch y tlawd. Onid y cyfoethogion sydd yn eich gorthrymu
chwi, ac yn eich llusgo chwi eu hunain ger bron y brawdleoedd?
7 Onid hwyntwy sy'n cablu yr enw rhagorol a elwir arnoch
8 chwi? Os cyflawni'r ydych y gyfraith frenhinol, yn ol yr

Ysgrythyr, Ti a geri dy gymydog fel ti dy hun, da y gwnewch.
Eithr os derbyn wyneb yr ydych, yr ydych yn gwneuthur 9
pechod, a chwi'n cael eich argyhoeddi gan y gyfraith megis
troseddwyr. Canys pwy bynnag a gadwo'r gyfraith i gyd oll, 10
ond tripio mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl.
Canys y neb a ddywedodd Na odineba, a ddywedodd hefyd 11
Na ladd; ac os ti ni odinebi, eto a leddi, yr wyt ti'n dros-
eddwr o'r gyfraith. Felly dywedwch, ac felly gwnewch, 12
megis rhai a fernir wrth gyfraith rhyddid; canys barn ddi- 13
drugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth drugaredd. Y mae
trugaredd yn ymorchestu yn erbyn barn.

Pa fudd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd, ac 14
heb fod ganddo weithredoedd, a ddichon y ffydd yna'i achub
ef? Os bydd brawd neu chwaer yn noeth ac mewn eisieu 15
beunyddiol ymborth; a dywedyd o un o honoch wrthynt, 16
Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch ac ymddigonwch, eto
heb roddi iddynt angenrheidiau'r corff; pa fudd yw? Felly 17
hefyd ffydd, oni bydd ganddi weithredoedd, marw ydyw ynddi
ei hunan. Yn wir, dywedyd y bydd rhywun, Tydi, ffydd sydd 18
genyt, minnau, gweithredoedd sydd genyf; dangos i mi dy
ffydd di heb dy weithredoedd; a minnau o'm gweithredoedd
i a ddanghosaf i ti fy ffydd innau. Credu'r wyt ti mai un 19
yw Duw; da y gwnei: y mae'r cythreuliaid hefyd yn credu ac
yn crynu. Eithr a fynni di wybod, o ddyn diddim, am ffydd 20
heb weithredoedd, mai diffrwyth yw? Abraham ein tad ni, 21
onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd ef, ar ei waith yn
offrymu Isaac ei fab ar yr allor? Ti a weli fod ffydd yn 22
cydweithio â'i weithredoedd ef, ac mai o weithredoedd y per-
ffeithiwyd ffydd; a chyflawnwyd yr Ysgrythyr sy'n dywedyd, 23
Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo'n gyfiawnder;
a chyfaill Duw y galwyd ef. Chwi a welwch mai o weith- 24
redoedd y cyfiawnheir dyn, ac nid o ffydd yn unig. A'r un 25
ffunud hefyd Rahab y butain, onid o weithredoedd y cyfiawn-
hawyd hi, ar ei gwaith yn derbyn y cenhadau, ac yn eu
danfon hwy ymaith ffordd arall. Canys fel y mae'r corff heb yr 26
ysbryd yn farw, felly hefyd ffydd heb weithredoedd marw yw.

Na fyddwch athrawon lawer, fy mrodyr, gan wybod y der- 3
byniwn ni farnedigaeth fwy; canys mewn llawer o bethau'r 2
ydym ni bawb yn tripio. Od oes neb heb dripio ar air, gŵr
perffaith yw hwnnw, yn gallu ffrwyno'r holl gorff hefyd.

Os rhown ni ffrwynau'r meirch yn eu pennau hwy, er 3

mwyn iddynt ufuddhau i ni, yr ydym yn troi eu holl
4 gorff hwy oddi amgylch. Wele'r llongau hefyd, er eu
maint, ac er eu gyrru gan wyntoedd geirwon, fe'u troir oddi
amgylch â llyw bychan bach, pa le bynnag y mynno osgo'r
5 llywydd. Felly hefyd y tafod, aelod bychan yw, ac yn ffrostio
pethau mawrion. Wele, leied o dân sy'n ennyn cymaint o
6 goed. A'r tafod tân ydyw: y byd anghyfiawn yw'r tafod
ym mhlith ein haelodau ni, yn halogi'r holl gorff, ac yn gosod
troell naturiaeth yn fflam, ac wedi ei wneuthur yn fflam gan
7 uffern. Canys pob rhywogaeth o wylltfilod ac adar, o ym-
lusgiaid a phethau yn y môr, a ddofir ac a ddofwyd gan ddynol
8 ryw. Eithr y tafod ni ddichon neb rhyw ddyn ei ddofi; drwg
9 aneddfol ydyw, yn llawn gwenwyn marwol. Ag ef yr ydym
yn bendithio'n Harglwydd a'n Tad: ag ef hefyd yr ydym yn
10 melldithio dynion a wnaethpwyd ar lun Duw. O'r un genau y
mae'n dyfod allan fendith a melldith. Fy mrodyr, ni ddylai'r
11 pethau hyn fod felly. A ydyw ffynnon o'r un llygad yn rhoi
12 dwfr peraidd a chwerw? A ddichon ffigysbren, fy mrodyr,
ddwyn olifaid, neu winwydden ffigys? Felly ni ddichon
dwfr hallt gynyrchu dwfr peraidd.
13 Pwy sydd ŵr doeth a deallus yn eich plith, dangosed o'i
ymarweddiad da ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra doeth-
14 ineb. Eithr od oes gennych genfigen chwerw ac ymryson
yn eich calon nac ymorchestwch, ac na ddywedwch gelwydd yn
15 erbyn y gwirionedd. Nid un sy'n disgyn oddi uchod yw'r
16 ddoethineb hon, ond daearol, anianol, cythreulig yw. Canys
lle y mae cenfigen ac ymryson, yno y mae terfysg a phob
17 gweithred ddrwg. Eithr y ddoethineb sydd oddi uchod, yn
gyntaf pur ydyw, wedi hynny heddychlawn, hynaws, a hawdd
ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, di-ranedig, di-
18 ragrith. A ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch i'r
rhai sydd yn gwneuthur heddwch.
4 O ba le y mae rhyfeloedd ac ymladdau yn eich plith chwi?
onid oddi wrth hyn, sef eich pleserau, y rhai sydd yn
2 rhyfela yn eich aelodau? Chwenychu yr ydych, ac nid oes
gennych; lladd yr ydych, ac eiddigeddu, ac nid ydych yn
gallu cyrhaeddyd; ymladd a rhyfela yr ydych, ond nid oes
3 gennych, am nad ydych yn gofyn; gofyn yr ydych, ac nid
ydych yn derbyn, o herwydd eich bod yn gofyn ar gam, er
4 mwyn gwario ar eich pleserau. Chwi odineb-wragedd, oni
wyddoch chwi fod cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw?
Pwy bynnag, gan hynny, a fynno fod yn gyfaill i'r byd, y

mae'n troi'n elyn i Dduw. Neu a ydych chwi'n tybied mai 5
yn ofer y dywed yr ysgrythyr? Ai at genfigen y mae chwant
yr Ysbryd a osododd efe ynom ni? Eithr rhoddi gras mwy y 6
mae: o herwydd paham y mae yn dywedyd; Y mae Duw yn
gwrthwynebu'r beilchion, ond yn rhoddi gras i'r rhai gos-
tyngedig. Ymddarostyngwch gan hynny i Dduw. Gwrth- 7
wynebwch Ddiafol, ac efe a ffy oddi wrthych: nesewch at 8
Dduw, ac efe a nesâ atoch chwi. Glanhewch eich dwylaw,
chwi bechaduriaid, a phurwch eich calonnau, chwi â'r
meddwl dau-ddyblyg. Ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch; 9
troer eich chwerthin chwi yn alar, a'ch llawenydd yn dristwch:
Ymostyngwch ger bron yr Arglwydd, ac efe a'ch dyrchafa 10
chwi.

Na ddywedwch yn erbyn eich gilydd, frodyr. Yr hwn 11
sy'n dywedyd yn erbyn ei frawd, ac yn barnu ei frawd, y
mae'n dywedyd yn erbyn y ddeddf, ac yn barnu'r ddeddf;
ac od wyt ti'n barnu'r ddeddf, nid wyt ti wneuthurwr y
ddeddf, eithr barnwr. Un sydd ddeddfwr a barnwr, yr hwn 12
a ddichon gadw a cholli. Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu
dy gymydog?

Iddo yn awr, y rhai ydych yn dywedyd, Heddyw neu y fory 13
yr awn i'r ddinas a'r ddinas, a bwrw blwyddyn yno, a
marchnata, ac elwa; y rhai ni wyddoch beth a fydd y fory; 14
canys beth ydyw eich einioes chwi? o ran hynny tarth ydych
chwi, dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hynny'n diflannu, 15
yn lle dywedyd o honoch: Os yr Arglwydd a'i myn, ni a fyddwn
byw, ac a wnawn hyn neu hynny. Eithr yn awr ymffrostio'r 16
ydych yn eich balchder. Pob cyfryw ymffrost drwg ydyw.
Y neb a fedro ar wneuthur da, felly, ac nis gwnelo, y mae 17
arno bechod.

Iddo yn awr, chwi gyfoethogion, wylwch ac udwch am eich 5
trueni sydd yn dyfod arnoch. Eich cyfoeth a bydrodd; a'ch 2
gwisgoedd a fwytawyd gan bryfed: Eich aur a'ch arian chwi 3
a rydodd; a'u rhwd hwynt a fydd yn dystiolaeth yn eich
erbyn chwi, ac a fwyty eich cnawd chwi fel tân. Chwi a
gasglasoch drysor yn y dyddiau diweddaf. Wele, y mae 4
cyflog y gweithwyr a laddasant eich meusydd chwi yn llefain;

a llefain y rhai a fedasant a ddaeth i mewn i glustiau
5 Arglwydd y lluoedd. Moethus fuoch ar y ddaear, a thrythyll;
meithrin eich calonnau a wnaethoch mewn dydd lladdedig-
6 aeth. Condemniasoch, *do*, lladdasoch y cyfiawn; yntau nid
yw'n eich gwrthwynebu.

7 Byddwch gan hynny ymarhous, frodyr, hyd ddyfodiad yr
Arglwydd. Wele, y mae'r llafurwr yn disgwyl am werthfawr
ffrwyth y ddaear, gan hirymaros am dano, nes iddo dderbyn
8 y gwlaw cynnar a diweddar. Byddwch chwithau ymarhous;
cadarnhewch eich calonnau; canys nesaodd dyfodiad yr
9 Arglwydd. Na rwgnechwch yn erbyn eich gilydd, frodyr; y
10 mae'r barnwr yn sefyll wrth y drws. Yn siampl o ddioddef
blinder, fy mrodyr, ac o hirymaros, cymerwch y proffwydi, y
11 rhai a lefarasant yn enw'r Arglwydd. Wele, dedwydd yr
ydym yn gadael y rhai sydd dda'u hamynedd. Chwi a glywsoch
am amynedd Job, ac a welsoch ddiwedd yr Arglwydd;
mai tosturiol iawn yw'r Arglwydd a thrugarog.

12 Eithr o flaen pob peth, fy mrodyr, na thyngwch nac i'r nef
nac i'r ddaear, nac un llw arall; ond yrIë, ïe, a'r Nag e, nag e,
13 fyddo gennych chwi, fel na syrthioch dan farnedigaeth. A oes
neb yn eich plith mewn adfyd? gweddïed: a oes neb yn
14 galonnog? caned fawl. A oes neb yn eich plith yn glaf?
galwed ato henuriaid yr eglwys; a gweddïant hwy uwch ei
15 ben ef, gan ei eneinio âg olew yn enw'r Arglwydd: A
gweddi'r ffydd a iachâ'r claf; a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i
fyny; ac os bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir
16 iddo. Cyffeswch gan hynny eich pechodau i'ch gilydd; a
gweddïwch dros eich gilydd, fel y'ch iachaer. Llawer a
17 ddichon deisyfiad y cyfiawn, pan fo hwnnw ar waith. Dyn
oedd Elias, o'r un sut a ninnau; a chan weddïo y gweddïodd
efe na byddai wlaw, ac ni bu gwlaw ar y ddaear dair blynedd
18 a chwe mis; ac efe a weddïodd drachefn; a'r nef a roddes
19 wlaw a'r ddaear a ddug ei ffrwyth. Fy mrodyr, od aeth neb
yn eich mysg ar gyfeiliorn oddi wrth y gwirionedd, a throi o
20 rywun ef, gwybyddwch y bydd i'r hwn a drodd bechadur oddi
wrth gyfeiliorni ei ffordd, achub enaid o farwolaeth, a chuddio
lliaws o bechodau.

# ARHOLION AR EPISTOL IAGO.

---

### Gwers 1.—i. 1.

1. Pa sawl Iago y mae son am danynt yn y Testament Newydd?
2. Pwy oedd yr Iago hwn?
3. Os brawd yr Arglwydd oedd hwn, paham na buasai'n ei alw ei hun felly?
4. Beth yw ystyr y gair 'gwasanaethwr?'

### Gwers 2.—i. 1.

1. Pa sawl gwaith y bu ymfudo mawr ym mysg y deuddeg llwyth?
2. Pa sawl dosbarth oedd o Israeliaid ar wasgar?
3. Ai at ryw un mwy na'u gilydd y cyfeiriwyd y llythyr hwn?

### Gwers 3.—i. 2-8.

1. Pa fodd yr oedd profedigaethau'n destyn llawenydd?
2. Pa un ai profiad o ffydd ynte prawf ar ffydd a feddylir wrth 'brofiad ffydd' yn adn. 3.
3. Beth yw'r gwahaniaeth rhwng amynedd a gobaith, a rhwng amynedd a hirymaros?
4. Paham y mae eisieu gofyn, a Duw mor barod i roi?

### Gwers 4.—i. 2-8.

1. Pa wahanol ystyron sydd i'r gair 'ffydd' yn y Beibl?
2. Cyferbynnwch ystyr Ysgrythyrol âg ystyr gyffredin y gair 'doethineb?'
3. A oes le i gasglu yn yr epistol beth oedd profedigaethau'r bobl hyn?

### Gwers 5.—i. 9-12.

1. Pa wedd y try amgylchiadau dyn yn brofedigaeth iddo?
2. Pa wahaniaeth sydd yng nghymhariaeth y glaswelltyn, fel y ceir hi mewn gwahanol rannau o air Duw?
3. Beth ydyw 'coron y bywyd?'

### Gwers 6.—i. 9-12.

1. Beth a ddywed Iago am dlawd a chyfoethog mewn rhannau eraill o'r epistol?
2. Beth a ddywed efe yma?
3. Pa fodd y cymhwysech chwi y ddysgeidiaeth at anghenion ein hoes ni?

### GWERS 7.—i. 13-18.

1. Beth yw ystyr y gair 'temtio?'
2. Pa sawl math o demtio sydd?
3. Pa oleu a ddyry adn. 15 ar y geiriau 'tynnu a llithio' yn adn. 14?
4. Beth ydyw 'cysgod troedigaeth?'
5. Pa eiriau eraill yn yr Ysgrythyr sydd yn ateb i 'ynillodd' adn. 18?

### GWERS 8.—i. 13-18.

1. Pa beth a yrrai ddyn i ddywedyd 'gan Dduw y'm temtir?'
2. Pa ateb sydd yma i'r gŵyn?
3. Danghoswch gytundod Iago âg ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd ar athrawiaethau gras.

### GWERS 9.—i. 1-18.

*Adolygu.*

1. Beth yw testyn yr epistol?
2. Pa fodd y dygir ef i mewn?
3. Pa fodd y mae'r awdwr yn treiglo o'i raglith i ganol ei bwnc?

### GWERS 10.—i. 19-27.

1. Am ba adnodau yn yr Hen Destament y pair adn. 19 i chwi gofio?
2. Eglurwch 'helaethrwydd malais.'
3. Paham y gelwir y gair yn impiedig air?
4. Beth sydd a wnelo ysbryd gwrandaw â phrif fater y llyfr?

### GWERS 11.—i. 19-27.

1. Beth a olygir wrth 'gyfraith rhyddid?'
2. Paham y cyffelybir hi i ddrych?
3. Beth yw dameg y bregeth ar y mynydd am wrandaw heb wneuthur?

### GWERS 12.—i. 19-27.

1. Chwiliwch am ddyfynion o'r bregeth ar y mynydd ar beryglon siarad.
2. Beth yw ystyr y gair 'crefydd' yn y fan yma? Pa fodd y daw'r awdwr o hyd i'w ddarnodiad o honi?
3. Pa le yn yr epistol y gorffennir y wedd ar y pwnc a drinir yn y gyfran hon?

### GWERS 13.—ii. 1-13.

1. Pa un ai agor pwnc newydd, ynte canlyn ymlaen yr ydys yn y bennod hon?
2. Os canlyn ymlaen, pa beth yw'r cysylltiad â diwedd y bennod gyntaf?
3. Os agor pwnc newydd, pa fodd y cyfrifir am waith yr awdwr yn dychwelyd at fater y tafod ym mhennod iii.?

GWERS 14.—ii. 1-13.

1. Pa un ai corff o athrawiaeth yn y deall, ynte gras yn y galon a olygir wrth ffydd yn adn. 1?
2. Beth ydyw derbyn wyneb?
3. Pa fath wahaniaeth rhwng dynion y mae'r efengyl yn ei ddileu?
4. A ydyw hi'n addaw gosod dynion yn gydradd ym mhob ystyr?
5. Beth yw'r berthynas fawr sydd i lywodraethu'n teimladau at ein gilydd?

GWERS 15.—ii. 1-13.

1. Beth y mae adn. 2-3 yn ei brofi am ystad cymdeithas yn eglwysi'r gwasgariad?
2. Beth a feddylir wrth 'dueddol ynoch eich hunain?'
3. Beth yw ystyr 'barnwyr meddyliau drwg?'
4. Pa ddewis a olygir wrth ddewis y tlodion?

GWERS 16.—ii. 1-13.

1. Pwy oedd y cyfoethogion gorthrymus?
2. Pa orthrwm a feddylir?
3. Pa enw a pha alw a olygir wrth yr ymadrodd 'yr enw rhagorol yr hwn a elwir arnoch chwi?'
4. Pa resymau a gawn ni yma i ddangos gwrthuni derbyn wyneb?

GWERS 17.—ii. 1-13.

1. Pa sawl cyfraith y bwriedir ei henwi yn adn. 8-13?
2. Pa un ai cymedroli'r hyn a ddywedwyd ar dderbyn wyneb ynte ei gryfhau y mae adn. 8?
3. Pa fodd y mae pallu mewn un pwnc yn gwneud dyn yn euog o'r cwbl?
4. Pa fodd y mae a wnelo'r gorchymyn 'Câr dy gymydog fel ti dy hun,' â derbyn wyneb?

GWERS 18.—ii. 1-13.

1. Paham yr ychwanegir yr ysgrythyr ar y gyfraith at y paragraff hwn?
2. Nodwch esiamplau o ddysgeidiaeth y Gwaredwr, tebyg i'r ysgrythyr honno.
3. Danghoswch ragoriaeth cyfraith rhyddid ar gyfraith yn ystyr gyffredin y gair.
4. 'Y mae trugaredd yn gorfoleddu'n erbyn barn.' Pa un a ddarlunir yma, ai'r briodoledd o drugaredd, ynte'r weithred o drugarhau?

GWERS 19.—ii. 14-26.

1. Ar ba beth y bwriedir rhoi mwyaf o bwyslais yn adn. 14, pa un ai geudeb y broffes, ynte afles y ffydd?
2. Pa wahanol esboniadau a gynnygir ar y gair 'beunyddiol' yn y Pader?
3. Eglurwch yr ymadrodd 'marw ydyw, a hi yn unig.'

GWERS 20.—ii. 14-26.

1. Pa un ai cyferbyniad ai parhad sydd yn adn. 17?

2. 'Eithr rhyw un a ddywed . . .' Dros ba blaid yn y ddadl y mae hwn yn siarad; pa un ai dros Iago, ai dros y darllenydd, ynte fel tyst anibynnol oddi allan?

3. Pa beth a'ch terry'n hynod am yr erthygl o gredo a ddyfynnir yma?

4. Beth a olygir wrth y cythreuliaid yn y fan yma?

GWERS 21.—ii. 14-26.

1. Pa wahaniaeth sydd rhwng adn. 21 a'r ysgrythyr fel y ceir hi yn Genesis?

2. Pwy heb law Iago o ysgrifenwyr y Testament Newydd sy'n defnyddio siampl Abraham?

3. Pwy arall sy'n defnyddio siampl Rhahab?

GWERS 22.—ii. 14-26.

1. Pa gymariaethau sydd yn y paragraff am ffydd heb weithredoedd?

2. Cyferbynnwch ddysgeidiaeth Paul â dysgeidiaeth Iago ar gyfiawnhad.

3. A ydyw'r ddau i'w cysoni? Os ydynt, pa fodd?

4. A ydyw dysgeidiaeth yr epistol hwn yn deg ar lwybr dysgeidiaeth Iesu Grist?

GWERS 23.—ii. 1-26.

*Adolygu.*

1. Ar ba ddosbarth o weithredoedd, yn enwedig, y mae llygad yr awdwr yn y bennod hon?

2. Pa wedd y mae derbyn wyneb yn rhwystr i frawdgarwch?

3. Meddyliwch am esiamplau o dderbyn wyneb yn ein dyddiau ni.

4. Beth yw'r feddyginiaeth?

GWERS 24.—iii. 1-2.

1. Beth yw ystyr y gair 'meistriaid?'

2. Beth sydd i'w ddysgu oddi wrth y geiriau am ystâd yr eglwys ar y pryd o ran ei swyddi?

3. Beth yw'r ystyriaeth gyntaf a grybwyllir yma i ddofi'r uchelgais anianol hwn?

GWERS 25.—iii. 3-12.

1. Pa air fyddai'r agoriad goreu i'r deng adnod hyn?

2. Nodwch y cyffelybiaethau sydd yma i ddangos pwysigrwydd y tafod.

3. Beth ydyw 'troell naturiaeth?'

4. Pa rai, yn ol y gwahanol restrau sydd gennym, yw pechodau'r tafod yn nysgeidiaeth Crist?

GWERS 26.—iii. 3-12.

1. Danghoswch y priodoldeb o gymharu'r tafod i greadur gwyllt ag eisieu'i ddofi.

2. Beth sy'n ei wneud ef yr anhawddaf ei ddofi o honynt oll?

3. Pa beth a all ei ddofi ef?

GWERS 27.—iii. 3-12.

1. Beth sydd yn y cymal cyntaf o adn. 10 dros hen yr hyn a ddywedwyd yn adn. 9?

2. Pa oleu sydd yn adn. 11 a 12 ar y cymal diweddaf o adn. 10?
3. Pa wahanol olygiadau a fu am y dull goreu o drin nwydau dynion?
4. Pa'r un yw athrawiaeth Iago? Dilynwch y drychfeddwl drwy'r llythyr.

GWERS 28.—iii. 13-18.

1. A pha beth y cyferbynnir ymarweddiad da?
2. A pha beth y cyferbynnir 'mwyneidd-dra doethineb?'
3. Beth a olygir wrth 'gelwyddwyr yn erbyn y gwirionedd?'
4. Beth a arweiniodd feddwl Iago i gyferbynnu'r ddwy ddoethineb?

GWERS 29.—iii. 13-18.

1. Pa rai oedd hoff lyfrau Iago yn yr Hen Destament a'r Apocrypha?
2. Ar ba rai o rinweddau doethineb y mae'r pwyslais yn y fan yma?
3. Pa rai eraill a enwir er mwyn gwneud y darlun yn gyfan?
4. Cymherwch briodoleddau doethineb (*a*) â'r gwynfydau, (*b*) â 'ffrwythau'r Ysbryd,' (*c*) â nodweddion cariad yn 1 Cor. xiii.

GWERS 30.—iv. 1-10.

1. Nodwch y ddolen gyswllt rhwng yr adran yma a'r adrannau o'r blaen.
2. Beth a feddylir wrth yr aelodau?
3. Beth ydyw gofyn ar gam?

GWERS 31.—iv. 1-10.

1. Pa un ai godineb llythyrennol yn erbyn eu gilydd, ynte godineb ysbrydol yn erbyn Duw, a olygir yn adn. 4?
2. Pa beth a ddeallwch chwi wrth 'gyfeillach y byd?'
3. Pa ysbryd a feddylir yn adn. 5?
4. Eglurwch yr ymadrodd 'rhoddi gras mwy y mae?'

GWERS 32.—iv. 1-10.

1. Beth a gynhwysir yn y gair 'nesbewch at Dduw?'
2. Pa wahaniaeth sydd rhwng Iago ac ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd yn geirio athrawiaeth edifeirwch?
3. Pwy a feddyliech chwi oedd hoff broffwyd Iago?
4. Beth yw prif fater yr adran hon?

GWERS 33.—iii. 1-iv. 10.

*Adolygu.*

1. Dangoswch berthynas y gyfran ar 'feistriaid lawer' â mater y llyfr.
2. Rhennwch a dosrennwch y gyfran ei hun.
3. Beth yw'r rhagor rhwng uchelgais teilwng ac uchelgais anheilwng?

GWERS 34.—iv. 11-12.

1. Pa sawl gwaith y ceir y gair 'brawd' neu 'frodyr' yn yr epistol hwn?
2. A oes wahaniaeth rhwng cyfraith a deddf?
3. Pa fodd y mae dyn yn barnu'r gyfraith wrth farnu ei frawd?

GWERS 35.—i. 19-iv. 12.

*Adolygu.*

1. Beth yw meddyginiaeth Iago i'r drwg deimlad sydd rhwng dosbeirth blaenllaw a dosbeirth cyffredin cymdeithas?
2. Beth yw rhai o brif gymhellion yr efengyl i deimladau brawdol?
3. Pa rwystrau sydd i frawdgarwch?

GWERS 36.—i. 19-iv. 12.

1. Ai at y byd, neu at yr eglwys yn unig, y mae dysgeidiaeth y llythyr i'w chymwyso?
2. A ydyw Paul ac Iago'n un ar y gwahaniaeth rhwng gradd a gradd ym mysg dynion?
3. 'Pawb yn rhydd; pawb yn gydradd; pawb yn frodyr.' I ba raddau y mae'r arwyddair yna'n un ysgrythyrol?

GWERS 37.—iv. 13-17.

1. Pa bechod a gondemnir yn yr adnodau hyn?
2. Pa ddosbarth o gymdeithas sydd debycaf o fod yn euog o hono?
3. Cysonwch yr adran yma â'r drefn y rhaid ei chael ym mhob gwaith.

GWERS 38.—iv. 13-17.

1. Pa le arall y defnyddia'r awdwr ansicrwydd bywyd i ddiben cyffelyb?
2. Danghoswch briodoldeb y cymhariaethau sydd ganddo yno ac yma.
3. Pa beth a esyd fawredd ar ein bywyd ni?
4. Pa ddaioni y cyfeirir ato yn adn. 17?

GWERS 39.—v. 1-6.

1. Pa sut y deallwn ni air Iesu Grist, 'Mai yn anawdd yr ä goludog deyrnas Dduw?'
2. Pa fodd yr oedd y rhwd yn dystiolaeth?
3. Cesglwch ymadroddion o eiddo'r proffwydi, ac esiamplau o hanes Israel, i ddangos fod y pechodau a ddesgrifir yn rhai parod i amgylchu'r genedl.

GWERS 40.—v. 1-6.

1. Pa ddiben a atebodd rhoi goludoedd mawrion mewn ychydig ddwylaw yng nghwrs rhagluniaeth?
2. Pa beryglon sydd ynddo?
3. Pa fodd y mae bywyd moethus yn ddifrod ar eiddo, pan fo'r cyfoethog yn talu am bob peth y mae yn ei gael?
4. Beth ydoedd condemnio a lladd y cyfiawn?

GWERS 41.—iv. 13-v. 6.

*Adolygu.*

1. Pwy oedd y rhai llwyddiannus a gyferchid yma?
2. A oes berygl i lwyddiant fagu balchder a gorthrwm eto?
3. Ym mha farn amlwg y cyflawnwyd y broffwydoliaeth hon?
4. Pa awdwr Iuddewig sydd wedi cadw'r hanes?

GWERS 42.—v. 7-11.

1. Pa fodd y dylai Cristion ymdaro yng ngwyneb gorthrwm?
2. A ellwch chwi gysoni'r paragraff hwn â'r un o'r blaen?
3. Pa oleu ar ddull cyffredin Duw o gosbi a geir yn nameg ffrwyth y ddaear?

GWERS 43.—v. 7-11.

1. Beth a olygai Iago wrth ddyfodiad yr Arglwydd?
2. Ym mha ddyfodiad y cyflawnwyd y geiriau hyn?
3. Pa rai o'r proffwydi yn neilltuol sy'n esiamplau o ddioddef blinder ac o hir ymaros?
4. Ym mha ystyr y gellir galw Job yn amyneddgar, ac yntau'n cwyno cymaint?

GWERS 44.—v. 12-20.

1. Pa dyngu a olygir yma?
2. A ddylai disgybl i Iesu Grist dyngu mewn llys barn?
3. Beth sydd a fynno gweddi a mawl â'r pechod o dyngu?

GWERS 45.—v. 12-20.

1. Eglurwch ystyr henuriaid, esgobion, diaconiaid, yn nyddiau'r apostolion.
2. Beth oedd lle a gwasanaeth gwyrthiau?
3. A ydyw iachau trwy ffydd, fel defod gyffredin, yn Ysgrythyrol?
4. A ellir cymhwyso dysgeidiaeth Iago ar ofyn ar gam at y pwnc yma?

GWERS 46.—v. 12-20.

1. A oes rhyw ffurf ar gyffesu i ddynion i'w chyfiawnhau?
2. Pa iachau a olygir yn adn. 16?
3. 'Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn.' Paham gweddi'r cyfiawn?

GWERS 47.—v. 12-20.

1. 'Elias oedd ddyn . . .' Beth yw gwasanaeth yr ystyriaeth hon?
2. Pa fodd y cysonwch chwi'r hyn a ddywedir yma â 'thair blynedd' yr Hen Destament?
3. Pa fodd y mae esiampl Elias yn galondid i ni?
4. A oes gysylltiad rhwng adn. 19-20 a'r paragraff?
5. Beth yw'r amcan teilyngaf i weddi?

GWERS 48.—v. 7-20.

*Adolygu.*

1. Beth yw ystyr neu ystyron yr ymadrodd 'dydd yr Arglwydd' yn yr Hen Destament?
2. Beth yw ystyr 'dyfodiad yr Arglwydd' yn y Newydd?
3. Pa fodd y mae gweddi yn meithrin amynedd?
4. Beth yw dysgeidiaeth Iago ar faddeuant?

## GWERS 49.

*Adolygu'r Epistol i gyd.*

1. Pa faterion sy'n dyfod amlaf i'r wyneb yng nghorff y llythyr?
2. Adroddwch rai o'r gwahanol olygiadau ar neges y llythyr.
3. Pa raniadau ar ei gynnwys y gellid eu cynnyg heb law yr un a ddewiswyd yn yr esboniad hwn?
4. Nodwch yn fyr gnewyllyn athrawiaeth Iago ar y pellder rhwng tlawd a chyfoethog.
5. Pa ffyrdd eraill o drin y pwnc a gynhygiwyd o bryd i bryd gan ddiwygwyr cymdeithas?

## GWERS 50.

*Parhad o Wers 49.*

1. Cymherwch a chyferbynnwch ddysgeidiaeth Iago â dysgeidiaeth 1 Pedr ar brofedigaethau.
2. Pa beth a ddysg Epistol Iago i ni ar bechod?
3. Iachawdwriaeth o ras. Dangoswch fod Iago yn dysgu'r un ffunud ag ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd ar y pwnc hwn.
4. Pa agweddau ar yr efengyl yr ydym yn ddyledus mewn modd arbennig i'r epistol hwn am danynt?

